# GWAITH BARDDONOL OWAIN LLEYN

(OWEN OWEN, Ysw., Bodnithoedd).

---

O DAN OLYGIAD

MYRDDIN FARDD.

---

"GORAU CÔV, CÔV LLYVYR."

---



PWLLHELI:

ARGRAFFWYD GAN RICHD. JONES, HEOL FAWR.

1909.

# RHAGYMADRODD.

---

AR odre tir llechweddog a theg, rhwng Bottwnog a Myllteyrn, y mae ffermdy palasog o enwogrwydd hynafol o'r enw Bodnithoedd, yn canol-bwyntio ar olygfeydd prydferth a rhamantus, llawn o ddyddoriant traddodiadol ac hanesiol. A pha ryfedd fod y lle wedi ei ddewis unwaith yn sedd i deulu ucheldras ein gwlad er's canrifoedd cyn cof—hen deulu ag oeddynt arferol ag olrhain a chadw eu hachau yn dra manwl, yn ol yr hen drefn Gymreig—y mab yn cymmeryd enw bedydd y tad yn ail enw, &c.

Heblaw hyny, bu Awen, er uched ei gwaedoliaeth a'i hurddas, yn hoffi Bodnithoedd cyn geni Owain Lleyn, cafodd yno dderbyniad croesawus i fynwes merch ieuangc a enwid "Alis ferch Gruffydd ap Ifan," uchelwr sefydlog ag oedd yn cyfanneddu yn nhawelwch ei dreftadaeth—Bodnithoedd ; nid oedd gan hyny gymmaint rhyfeddod i'r llecyn hwn gymmeryd ei le yn y rheng o enwogion *Cwmmwd y Maen*, yn oesoedd geirwon Lleyn. Yr oedd y beirdd "o lin gerdd" yn amlach yn y rhan-gylch hwn nac odid un dalaeth arall yn ein sir. Ni cheid yno "na thŷ na thwlc" na phalas heb ei fardd—cyd-ymgeisiai boneddigion a dysgedigion, yn ogystal ag eraill na wlawiodd arnynt gawodydd maethlon

dysg a diwylliant, am gyffyrddiad, hyd y nod marworyn o wir dân y ddawn awenyddol; ond hirfaith fyddai dynodi y fath oleu-res o honynt ag â'n dygai yn ol i ddyddiau boreuol llenyddiaeth oesau ar ol oesau, ac yn mlaen hyd ogylch y ganrif ddiweddaf.

Yma hefyd, yn y flwyddyn 1786, y ganwyd Mr. Owen Owen (*Owain Lleyn*), yr hwn oedd ddisgynydd o Rhys ab Tewdwr Mawr ac o Drahaiarn Goch, Arglwydd *Cwmmwd y Maen;* ac felly o'r un llinell redegol a theuluoedd Angelog, Bodwrdda, Brynkir, Careg, Cefnamwlch, Glynllifon, Graianog, Pwlldefaid, Saethon, &c. (Gwel y *Gleanings from God's Acre,* td. 154 a 155). Ceid y ddwy gangen o'i deulu—y naill yn anneddu yn Mhenarth, Clynnog Fawr yn Arfon, a'r llall yn Neugwl Uchaf yn Lleyn. Yn ei fabolaeth syrthiasai ef mewn cariad â Dorothy, merch David Evans, Ysw., Nantlle, ac yn nghwrs amser priododd hi, a bu o'r cyfryw undeb iddynt wyth o blant, y rhai a feithrinwyd gyda gofal yn Modnithoedd. Ac yma, yn nhawelwch mudanaidd y wlad, heb ddim i dori ar heddwch parhaol ond swn ambell gerbyd afrosgo, tra ar deithiau ol a blaen rhwng Aberdaron a Phwllheli, y tyfodd ac y datblygodd y tueddiadau hyny fu a rhan ganddynt yn ffurfiad athrylith eu tad. Plant natur oeddynt ei rieni ef. Dyna ei dad wedi ei fagu mewn mangre wyllt yn mhlwyf Clynnog Fawr, a'i fam wedi ei dwyn i fyny ar wastadeddau gwyrddwelltog glanau Afon Soch, ac yntau wedi etifeddu cyfran y tad a'r fam o faeth

naturiaeth y naill le a'r llall. Bellach, gadawn y ffeithiau i ddalenau sychion hanes. Digon i ni, ar hyn o bryd, ymwneyd â gwrthddrych ein testyn, yr hybarch *Owain Lleyn.* Hirfaith amser yn ol, yr oedd ei dad yn gorphwys yn *Llangynog* ar ei ddychweliad adref o Lundain ; ac yn canu y pennill canlynol o'i waith ei hun yn uchel yn ei ystafell :—

"Er cymmaint o falchder
A welais yn Lloeger,
Ni ro'es i mo mhleser ar frasder y fro ;
Gan faint wy'n hiraethu
Am weled tir *Cymru,*
'Rwy'n methu llawn ganu'n *Llangynog.*"

Digwyddodd fod ar y pryd yn y gegin un o'i hen gymmydogion, sef Pierce Owen o Gilcoed, Clynnog, yn dyfod adref o yrru, yr hwn, wrth glywed y canu, a adnabu pwy oedd wrth ei lais, ac a aeth ato gan lawenhau yn fawr, ebai Thomas Owen, Cefnartho, wrth Eben Fardd. Fel yna, gwelwn fod Gruffydd Owen yn dipyn o brydydd wrth natur ; ond tra nad oedd ef ond yn ymddigrifo mewn dyrïau, mynodd y mab feistroli y cynghaneddion, a chyfansoddi barddoniaeth eneiniedig.

Mae beirdd *Cymreig* yn benthyca eu henwau yn gyffredin oddiwrth enwau mynyddoedd, afonydd, llynau, neu ddyffrynoedd a fyddo yn yr ardaloedd lle byddont yn byw. Benthycodd Owain Lleyn ei enw oddiwrth wlad ei enedigaeth, sef Lleyn, a theilwng ydyw o honi. Y mae *Owain, Owen,* ac *Ywain* yn

gyfystyr :—arferai yntau ymgyfenwi yn y gwahanol ddulliau hyn ; ond y ffurf flaenaf—" Owain "—yw llythyraeth ei enw, fynychaf, yn danysgrifedig wrth ei gyfansoddiadau. Coeth, ond syml, ydoedd nodwedd teulu Bodnithoedd. Yfodd y mab, Owain Lleyn, yn ddwfn o yspryd y tylwyth, a llanwyd ei galon âg *yspryd y peth byw.* Ar hir nosweithiau gauaf, eisteddai wrth draed ei rieni, gan yfed gyda blas hen gofiannau ei wlad, megis ag y dygid hwynt i'r goleu ganddynt. Diammheu i'r nosweithiau hyny fod yn foddion i ogleisio crebwyll ei feddwl, ac i ogwyddo ei serch at bethau hynafol, canys casglodd mewn amserau dyfodol gryn lawer o " lên gwerin "—chwedloniaeth leol, &c. Cafodd fanteision addysg yn Ysgol Bottwnog, lle y daeth yn mlaen yn gyflym mewn dysg a gwybodau. Wedi hyny, treuliai ei amser gartref fel " Amaethon bodlon a Bardd," a dyry ei gynnyrchion awenyddol brofion amlwg ei fod yn fardd gwirionedd, natur, a rhinwedd, ac ei fod yn deall cyfrinion barddas yn ei holl agweddion. Ychydig, er hyny, oedd ei hyder yn nhaflen A B C a sillebiaeth cerddoriaeth cydseiniaid neu seiniadaeth geiriau, er nad hylwyr ddiystyr o reolau cerdd dafod ; ac ni wanheid grym ei ymresymiad yn erbyn rhuthro ar neb yn ddiarbed, megis pe bywyd ac angau yn sefyll ar gywrain drefnu mân-ûs o'r fath.

Gwir y gwelir ambell wall yma a thraw yn ei gynnyrchion arddunol, yr hyn a brawf ei fod yn agored i ddiffygion fel eraill o ddynolryw, ond nid

ydynt ond llithriadau bychain yn ngwyneb ei degwch barddonol a'i deithi rhagorol. Nid crefft a galwedigaeth oedd barddoni iddo ef, yr oedd canu yn naturiol iddo—"Fel dawns hen wraig"—yn fyr ac yn felys. Nid canu yn ei lyfrgell a wnai, ond llinellu ei ganeuon wrth araf rodio, a hyny i wrthddrychau a ganfyddai yn gydnaws â'i awen wylaidd, seml a diymhoniaeth. Nid oedd dim iddo yn y tymmorol a'r cnawdol yn werth i'w cymharu â'r mwyniant a gaffai o fyw yn ddistaw yn myd gwresoglawn ei fyfyrdodau. Fynychaf, canu i ddifyru ei hun a'i gyfeillion wnelai; ond ar rai achlysuron, mae'n wybyddus ddarfod anrhydeddu ffrwyth ei awen â thlysau neu wobrau arianol gan wahanol gymdeithasau. Cyfrifid ef gan farn un-farn y bobl yn fardd goreu yr holl wlad—yn meddu ar yspryd ac yni parodrwydd hen feirdd Eisteddfodau dechreu y ganrif o'r blaen. Y cyfryw oedd yr ymddiriedaeth ynddo, fel y mynych elwid am dano i feirniadu mewn eisteddfodau lleol, &c., a cheid ei fod, bob amser, yn feddiannol ar farn addfed a phwyll i weinyddu yn ol rheolau manylaf cydwybod. Trwy gydol y rhan hwyaf o'i oes, cafodd bob anrhydedd a allai gwerin ddiolchgar roddi iddo, ac uwchlaw dim, y mae'r cofion a'r argraff am dano yn aros hyd heddyw megis nodau geni ar hen drigolion Pen Lleyn. Yr oedd yn adnabyddus trwy yr holl wlad am ei ffraethineb a phertrwydd ei sylwadau. Byddai ei ymddiddanion bob amser yn darawiadol a chwareus; ac yr oedd

rhyw gellweiriaeth yn blasu pobpeth a ddeuai dros ei enau. Yr oedd ei gof fel llyfr y gellid dibynu ar ei gywirdeb: dyna ei arfer gyffredin o gadw ei gyfansoddiadau barddonol — cadwai hwynt yn y modd hwn heb eu trosglwyddo i bapyr hyd oni byddai galwad am hyny; a dyna, yn ddiau, sydd yn cyfrif na buasai mwy o'i ysgrifau yn nghadw ar ei ol.

Estynwyd blwyddau ei einioes i lawn un a phedwar ugain, fel y dengys yr argraff sydd ar gof-golofn ei fedd yn nghŵr gogleddol mynwent Bottwnog, fel hyn:—

"Er cof am
Mr. OWEN OWEN (*Ywain Lleyn*),
Bodnithoedd,
yr hwn a fu farw Awst 21, 1867,
yn 81 mlwydd oed.

Dyma fedd diwedd Bardd da,—Ywain Lleyn
Yn y llawr sydd yma,
Er a geffir o'i goffa
Bythol: dod yn ol ni wna."

Gan fod rhai mân wallau wedi llithro i'r llyfr hwn, fel pob llyfr arall, nid oes genym ond eu cyflwyno i nodded cynnifer oll ag sydd yn perchen digon o synwyr i farnu yn gywir a diduedd yn eu cylch.

Yn wladgar,

J. JONES (*Myrddin Fardd*).

*Gwyl Ifan, 1909.*

# CYNNWYSIAD.



BODNITHOEDD.—CARTREF OWAIN LLEYN.

# Gwaith Barddonol Owain Lleyn.

---

## AWDL

Ar ddyfodiad Richard Lloyd Edwards, Ysw., Nanhoron, i'w oed, yn y flwyddyn 1832.

Wele harddwch wawl hirddydd—yn tystio
Ein testyn cathl newydd ;
Wi ! clywch sain ar adain rydd,
Oll o anian llawenydd.

Mae hynod sain clod i'n clyw—cyfan oed
Cyfiawn Aer sydd heddyw ;
Aer hen waed Nanhoron yw,
A didwyll henwaed ydyw.

Llawenydd, byrddau llawnion—a huliwyd
Yn hael â danteithion ;
Mewn gwleddoedd, lluoedd sy'n llon
Oherwydd Aer Nanhoron.

Magnelau, clychau i'n clyw,—a seingar
Gysongerdd sydd heddyw ;
Llon adeg llawen ydyw,
Lleyn o fewn—mae'n llawn o fyw.

Banffaglau, bryniau a bronydd,—a wnant
Y nos yn ysplenydd;
Gwelir o gwr bwygilydd
Y wlad oll yn oleu dydd.

Gwlad Arfon a Môn ymunant,—Dinbych
A danbaid gydlonant:
Ymuno'n Eifion a wnant,
Yn uchel llawenychant.

Mawr iawn yw bost Meirion bau,—ei glodydd
Gludent i'r cymmylau;
Tra phrydferth yw'r coelcerthau
Yn y fro hon i'w fawrhau.

Holl haelwyr tref Pwllheli—ei ddiwrnod
A addurnant drwyddi;
Gan ffraeth beroriaeth a bri,
Lloniant sydd yn ei llenwi.

Mae yn wir y gwelir mewn argoelion
Enw a chlod iddo gan wych wladyddion;
Llawen ymroisant fel llu i ymryson
I geinwych eiliaw genau a chalon,
Mewn odlau a llefau llon—gwlad a thre',
Yn un "Hwre" i Aer Nanhoron!

O'r bron ca'dd hyffordd er braint,—bu ufudd
Heb ofid i'w riaint;
Ei lân foes hyd ei lawn faint
Dilyned hyd wyl henaint.

Dyma ruddin o waed mawreddawl—hen
Frenhinoedd anfarwawl,—
Trefdadaeth helaeth i'w hawl,
O lin i lin olynawl.

Etifeddiaeth ddaeth o ddoethion,—yr hil
Parhaed etto'n gyson;
A'i enw'n hir yn Nanhoron,
Fel y graig, tra y Foel Gron!

Richard Llwyd Edward, llyw da—a fyddo
Ar fyddin Victoria,
Rhag gelynion blinion blâ
Brwd honwyr hawl Britannia.

Os try anwar estroniaid—â chweryl
I'w choron yn wrthblaid,
A hoff lwydd caffed o'i phlaid
Fileinder fel ei hendaid.

Ei rieni, hir einioes—a gaffont
Heb gyffwrdd â thromloes,—
Da i'w rhan wedi hir oes
Y delo gwynfyd eiloes!

Iach hiroes i'w chwiorydd,—ac i'w frawd
Cu hyfrydwch beunydd,
Gras Ior hael, ac hir oes rydd,
Draw ä gwae yn dragywydd !

---

## AWDL

Ar gwympiad y Cadben Richard Lloyd Edwards, Nanhoron, tra yn blaenori y Gatrawd Ysgafn Draedfilwyr, o flaen Sebastopol, ar yr 11eg o Fai, 1855.

Gwagedd, a gwagedd i gyd,—rhoi hyder
Ar adeg y bywyd ;
Nid oes hawl dewis ei hyd,
Ior manwl wyr y munyd.

Torwyd y Capten tirion,—Lloyd Edwards !
Lyw didwyll a ffyddlon ;
Daeth cyffraw a braw ger bron,
Nawn hiraeth yn Nanhoron.

Drwy y wlad ar ei ol o—yr wylir
O alaeth am dano ;
Daeth ar frys mewn dyeithr fro,
Archoll oedd erchyll iddo !

Imp o fêr dewrder Edwardiaid,—a'i nodd
O hen waed y Llwydiaid ;
Daw i'r un bleth, dirion blaid,
Yn hael iawn hil y Wyniaid.

Gwaedoliaeth y gwiw deulu—o'r hoewfab
A rifir i fynu
O hen wraidd milwraidd lu,
Bronau henllwyth brenhinllu.

Hoff oedd llin Syr Gruffydd Llwyd,
O'i gyfan âch hwy gafwyd ;
Yn mhellach caf linach lân
O âch Ednyfed Fychan ;
Boneddion gwychion eu gwedd
O genedl Owain Gwynedd,
A'u gemau a'n ddigymysg
I Hywel Dda, hael ei ddysg ;
Rheolwr a deddfwr doeth,
I rinwedd dysgai'r annoeth ;
Ac enw Gruffydd ab Cynan
Ddaw i'w hâch yn ddiwahan ;
O Cynan, frenhin ceinwawr,
Draw âf i hil Rhodri Fawr ;
Teyrn oedd a bioedd Bowys,
Treiddia'r llin trwodd i'r llys ;
A llin Agnes, aeres oedd,
Llwyn Dyrus ei llawn diroedd.

Trwyddynt, pe bawn yn treiddio,—troi celloedd
Twr Collwyn ab Tangno,—
Eu cynhaniad cawn yno,
Lana' llin, ei linell o.

O'r un cyff, ca'r gwron call,—oeswr hy',
Syr Howel y Fwyall,—
Llew ar faes, pe llu i'r fall,
Curai'r naill gŵr ac arall.

Ac o enw Marchudd ab Cynan—caed cyff
Wyn y Coed Coch allan ;
Cafwyd o waed coch cyfan,
Llawn ei chlod, yn llinach lân.

Eu henwau sydd mewn uniad—â gwychion,
Ac uchel gymmeriad
Sy i genedl a'i disgyniad
O flaenion glewion ein gwlad.

Eu rhodiad sydd o fawrhydi—uchel,
A'i achoedd uchelfri,
Rhai haelion fu'n rheoli
Yn mhlaid ein hynafiaid ni.

Gwr o'i deidiau a fawr gerid ydoedd,
Arwr o deilwng barch yr ardaloedd,
Hyny a goleddent yn eu gwleddoedd
A didwyll wên, llawen fu y lluoedd ;
Gyda'i Rieni o'r rheini yr hanodd :
Yn fâd i'w fywyd oedd,—Och, newydd garw !
Ah ! yn ei farw gruddfanai niferoedd.

Gwelwi y maent mewn gwelwloes,
Hyfrydwch yn dristwch droes ;
Yr adeg aeth ar edyn,
Megys doe—mwg yw oes dyn,
Llawn tristwch yw Lleyn trosti
Yn y llwch, a'i dagrau'n lli ;

Mae'r aethus frawychus fro
A chaddug yn ei chuddio,
Duawdd y nen, deuodd nos,—
Och, och ! a fu uwch achos ?
Gwlad Fon ac Arfon i gyd,
Daeth trostynt adwyth tristyd ;
O'i ol adwythol fu'r dydd,
Ys, i fynwes Eifionydd ;
Yn Ngwalia Wen, ing a loes
Am lyw da'n mlodau einioes !
Beth yw'r wlad a'i theimladau
At y clwyf i'w riaint clau ?
Am ei gur,—heb ddim geiriau
Dai'r dagrau'n llif, ddifrif ddau !
Archoll sydd, ow, erchyll saeth !
Yn Nanhoron a hiraeth ;
A du gwmmwl digymysg,
Colli eu mab call o'u mysg !
Gwelwi y maent mewn galar
Yn ei gwymp, un addfwyn, gwâr ;
Llangc glân, ow, druan, mae'n drwm
Gwedi cael marwol godwm !
I'r oer bau yr äi o'r byd ;
Hoew fab oedd hoff o'i febyd
Yn y byd, cyflawni bai—
Nef i'w enaid,—ni fynai !

I'w unig frawd, syndawd sydd—o'i farw,
A loes chwerw i'w lwys chwiorydd !

Ei deg wedd nid yw i'w gael,
I'w gofid aeth o'u gafael !
Er mai llangc tra ieuangc oedd,
Lloyd Edwards i'w wlad ydoedd
Yn ei le'n ëon lywydd,
Ei eres fawl yn Rws fydd.
Milwr glew, er rhew oer hin,
A'i arfeiddiol ddewr fyddin ;
Ni chiliai,—safai i'w swydd,
A brwydrai o barodrwydd ;
Un diddig ei nodweddiad—
Oen gwâr, ond llew yn y gâd ;
Er gwynt, "aruthr yn rhuthraw"
O'r entrych, a gwlych a gwlaw,
Y tywyllwch mantellawg
Oll o'i gylch mal tywyll gawg,
Ni throe'n ol er chwyddol chwant
Eithr Rwsia pan ruthrasant ;
Da oedd ei rym, heb duedd rhed
Hyd angau ei chwerw dynghed !
Dyn gwrol, marw dan goron
A chwerw friw yn ochr ei fron !

O, am allu,—mae ewyllys,—
I'r anwar fro yr awn ar frys ;
Am ei barch, dodwn o'm bodd,
A'r addas fri a haeddodd,
Ywen fawr uwchben ei fedd,
A briallu ebrillwedd,

Os gorwedd y mae heddyw
Yn ei fedd, mae 'i enw 'n fyw ;
Unwyd ef ag enwau da
Cewri mwyaf Crimea,
I gyd a ga'dd eu gwaedu
Dros eu gwlad gan dreisiog lu ;
Y dewrion wrolion restr
Eu cyfrif fydd mewn cofrestr
Fel ar faen cerf, ni dderfydd
Eu gair da tra gwawrio dydd.

Pan ddaw'r Archangel o'r maith uchelion,
Rwsia fydd a'i moelydd fel Vermilion :
Yma'n gu bythawl, mae ein gobeithion,
Eirianu'n eres wna Aer Nanhoron ;
Fe ddaw o'r gref ddaear gron,—ar ei floedd
Y bwria'r moroedd o'u berw'r meirwon.

---

## LLEYN WEDI MARW YN LLEFARU ETO.

[Yn rhifyn Ebrill, 1845, o'r "*Beirniadur Cymreig*," ymddangosodd caniad dan y teitl "*Dylaith Lleyn*," fel calenig i Owain Lleyn, o eiddo Ellis Owen, Cefn-y-meusydd; ond nis gallwn lai nag ammheu ei ddifrifoldeb, pan yn enllibaidd oganu dwfn dlodi llenyddol Lleyn. Fodd bynag, buan yr ad dalodd Owain Lleyn y pwyth iddo, dan rith ymddangosiadol o ddigofaint difyr-ddigrif, fel y canlyn.]

Cywir i mi, y câr mwyn—â gofid
Dy gyfarch yn addfwyn;
Mewn dylaith 'does iaith na swyn,
A'i gochel, nid gwiw achwyn.

Ai celwydd ar ddydd Calan?
Ai gwir y gelwir dy gân?
Calon oer, pe coeliwn i,
G'lenig i'm digaloni,
O dudwedd Lleyn rhaid d'wedyd
Peth gwir, os nad gwir i gyd.

Dy ddarmerth, od yw ddirmyg,—yn ddidwyll
Mi dd'wedaf heb ryfyg,
Nad yw'r lon fyw Delyn fyg
Oll yn hawl y llwyn helyg.

Ai chwimwth dy ddychymyg?—ni welaf,
Y mae'n ail i ddirmyg;
Yn llon, rhai dynion a'i dyg
I'w llawn hwyl o'r llwyn helyg.

Lleyn a fu yn llawn o feirdd,
Mil a'u profodd mal prif-feirdd ;
Gwelw yw yn awr mewn galar,
Chwith ar ol ei gwrol gâr :
Du afar wedi *Ifan*,*
Pan ffodd, fe giliodd y gân.

Colli ser wnaeth brudd-der bron
A derw mawr i dir meirwon.
Ow ! William † aeth yn welw-wedd
O le'r byw i lawr y bedd ;
A Hugh Lleyn, i bwy well air ?
Y llonfardd o Gefn Llanfair.
Dearwyd Lewis Daron,
Ar ei ol y siriol Sion ;
Pedrog ‡ (mal eurog irwellt
Pelydr ei ddawn) paladr ddellt ;
Ef ac Ieuan lân ei lais,
Dyna ddau a adwaenais.
Bu rhai'n yn canu mewn côr,
A bri, yn llwyni Llanor.

* Ieuan Lleyn.
† Wiliam Lleyn.
‡ Twm Pedrog.

Wil Thomas,* urddas ei gerddi,—lengcyn
A lyngcwyd gan weilgi;
Hoff enwog lywydd Ffani
(Dyna'i swydd) adwaenais i.

Ofer yw son am feirddion o fawrddysg
A'u plethiadau mal gemau digymysg;
Rhai oedd a'u gwreiddiau o swydd gywir addysg
Aethant ar ddidawl, yr haeddawl wyr hyddysg;
Ni ddeuant hwy mwy i'n mysg,—'d oedd angau,
Noddwr eu dyddiau mwy na rhai diddysg.

Od yw gwên yr awen rydd
A'i nef wen yn Eifionydd,
Lleyn nid yw yn byw heb wên,
Rhyw wech anwyl wreichionen;
I draws daith, daeth dros y dwr
I gwrdd a Sion y Garddwr; †
Ei masgau geir 'mysg ei goed,
A'i mwyngerdd rhwng y man-goed,
Gwelaf fod yma Gwilym
Am gynnyrch y llewyrch llym;

* William Tomas a anwyd yn y Felin Isaf, yn mhlwyf Llangian. Mab ydoedd i Thomas Williams a Margaret Sion Edward, chwaer yr ieithydd enwog Dic Aberdaron. Morwr ydoedd, a boddodd gerllaw Dulun, Ionawr 31ain, 1799.

† Sion Cawrdaf.

Ebrwydd mae rhai yn sibrwd
Daw i fraint os nad yw frwd.

Llon, ystwyth fardd Llaniestyn,—neud tynion
Yw tanau ei delyn ;
Awen lwys Ieuan o Leyn,*
Cywrain fydrydd Carn Fadryn.

Os bydd ar dywydd oer du—y gauaf
Yn gwywo o'n deutu,
Mor fwyn y gwanwyn yn gu,
Mae'r egin yn mawrygu !

Mewn brys yn lloni mae'n bron—mwyn y llais
Mae yn Lleyn arwyddion ;
'E gwyd torf o goed tirfion
Dechreu haf hyd ochrau hon.

A gwên addien hwy gynyddant,
O blaid awen y blodeuant,
Mewn acenion mwyn y canant
Hyn, Amen, yw fy nymuniant.

" Gwr addysg yn mysg ein myrdd,"
Nodwn ef, os nad yw'n urdd ;
Mae Dic † wrth law, daw heb dwrdd,
Moeswch wyr i'r maes, 'e chwardd.

---

* Y Parch. John Hughes, pregethwr gyda'r Annibynwyr.
† Dic Aberdaron.

Elfen yr awen, o iawn ryw,—och fi,
Ni chefais y gyfryw ;
Mae ar ball, rhwng marw a byw,—
Wyf glerfardd, llwydfardd lledfyw.

Ychwaneg ddysg a chynnydd—a hoffaf
A'i heffaith a'i chlodydd ;
Gan ddisgwyl daw egwyl dydd
Bro Lleyn a bri llawenydd.

## TRYMPYDEDD EIFION.

I Leyn nid yw lawenydd—dy gyfarch
Ond gofid Eifionydd;
Mae alaeth, er pan daeth dydd
I'th gostwng i faith gystudd.

Diau *Eifion* sy'n dofi,—a chaddug
Yn ei chuddio drosti;
A'nghymen ei hawen hi,
O dan adwyth yn edwi.

Ow! hen Eifion fu nefoedd—yr awen,
Oer yw dy gynteddoedd!
P'le mae'th fri? Ai gwelwi'n goedd,
Yn is is yn oes-oesoedd?

Trwm edrych o frig trum Madryn—ar niwl,
A'r nos yn ymestyn;
Deuodd gwae, duodd y gwýn,
A di-dolwyd y delyn.

Dialaw yw y dolydd,—a phrenau'r
Dyffrynoedd a'r gelltydd;
Ni adwaen gân edn y gwŷdd,
Araf iawn yw'r afonydd.

Ys nifwl aeth dros neifion—a Gwalia
I'w gwelwi yr awrhon :
Galaraf (os af i son),
Mae nifwl mwy yn Eifion.

Y fyw gaerawg fagwyrydd—trwm, ow ! ow !
Tramwy ei heolydd ;
Yn lle irder sychder sydd,
Mae weithian heb amaethydd.

Fy anwyl hen Eifionydd,—drom galon,
Aeth gwron o'th gaerydd ;
Nid oes gân, rhyw syfrdan sydd,—
Du ofid ar ol Dafydd.

Dafydd * roddaist i dyfu—dewisawl
Dywysog beirdd Cymru ;
Gwas di-dlawd i'w gystadlu,
O braidd y daeth y Bardd Du.

Pen-clo aur, pinacl arian—iselwyd,
Noswyliodd y gyngan :
Ni cheir na chywydd na chân,
Mae'n waeth emynau weithian.

* Dewi Wyn o Eifion.

Pau wylofus ! P'le Eifion,—o gwyddost,
Mae gweddill dy feibion ?
Ai dan gudd, yn brudd eu bron,
Neu ddistryw annedd estron ?

Gwel am ddawn Ab Gwilym Ddu*—ei gerddi
Mewn gardd wnaed i fynu ;
A gwel yn dawel mewn du,
(Pwy adrodd) Dewi'n pydru.

'E fu Elis i'th foli,—a'i ddyrchwawd
Ardderchog roes iti ;
Ai byw ef i d' addef di,
Ai gadael a wnaeth gwedi ?

Ai mewn mwd mae'r mwyn Madog ?†—a'i Emrys‡
Y Cymro blodeuog ?
Sion Wyn, || mae ei swn o ?
Gwae chwalwyd gwê y Chwilog.

Llonai gobaith Llangybi,—rhyw gynnar
Eginau gaed ynddi :
P'le mae gwên ei hawen hi ?
Tawel, tawel yn tewi.

---

* R. ab Gwilym Ddu, neu Mr. Robert Williams, Bettws Fawr.

† Ioan Madog.

‡ Y Parch. W. Ambrose.

|| Sion Wyn o Eifion, sef Sion Tomos, Chwilog.

Di-dwf yw Alltud Eifion,—truenus
    Yn trin ei gyfferion,
  Ai i draws daith 'r aeth dros y dòn,
  Lle dodir yr alltudion?

Nid fy mherwyl, fy anwyl Eifionydd,
Yw dy dduo, difrïo dy froydd,
Na, bid it' lawen wên awen newydd,
A'i mwyn acenion seiniont mewn cynnydd;
Oll o anian llawenydd—rhof lef lon,
Coder di Eifion uwch cadair Dafydd.

    Minnau, er trom awenydd,
    Ganmolaf, addurnaf dy ddydd;
    Tystiaf mai ti fydd testyn
    Awen a llais Owain Lleyn.

---

## MYFYRDOD AR FARWOLAETH Y PARCH. B. JONES,

Yr hwn fu yn weinidog Annibynol yn Mhwllheli o'r flwyddyn 1789 hyd 1823.

Mor welw yn ei mawr alar,—yw'm gwlad
Am gludo JONES hawddgar;
A dyn i Ion o dan âr,—
Mor dawel yw 'n mru daear!

I'w deulu y deuai alaeth—ar ol
Eu hareilydd odiaeth:—
Dan haul daioni helaeth,
Yn llaw Ner, yn mhob lle wnaeth.

Gweinidog, nid gwan ydoedd,
Dyn o ddawn, duwinydd oedd;
Am iachusol, fywiol faeth,
Ei goeth rywiog athrawiaeth,
Canoedd a geir yn cwynaw,
A Lleyn fro yn llawn o fraw;
O'r ysgariaeth, saeth yw son,
A du ofid i Eifion;
Blwyddau meithion y bloeddiodd,—
"Fod yr *Iawn* yn radlawn *rodd*,
I ddwyn yn ol ddynion, a'r
Un duaf ar ein daear."

Rheol anfuddiol o'i fodd,
Neu warth destyn wrthdystiodd ;
Caid egnïon ei ddoniau
Er llwyddo gwir—a lladd gau ;
Yn addfwyn gwaeddai—" Noddfa
I ddynion * * * ."

Mwyn y geiriau mewn gorhoen
Am werth mawr aberth yr Oen ;
'E roes ei bwys ar Iesu,
Yn unol iawn yn ei lu ;
Gwyr blin o'r eglwysi'n glau,
Na mawr swn ymrysonau,
Nac un bai ni fynai fod
Yn nhynghedfen annghydfod ;
Drwg o'n mysg, â'r addysg rodd,
O wir les a arloesodd ;—
Uwch pob llid a gofidiau,
Ei Naf byth yn y nef bau,
Mwynhâ'n bêr mewn lleufer llon
Wenfawr wyl anfarwolion !

Er pla bydol echrysol a chroesau
Gwarth yn y byd a gwrthwynebiadau,
Er loes ingoedd yn oerlys angau,
A'i brudd ollwng i gudd-briddellau ;
Uwch llyn y gelyn gau,—adseinia gân
Uwchlaw y daran drwy'r uchelderau.

Pen-y-lan ! pwy yn ei le—a godir
  I gadw'i areithle ?
 Drwy y wlad ar ei ol e',
 I'r eglwys ceir mawr wagle.



## DYFODIAD ETIFEDD CEFNAMWLCH I'W OED.

Cefnamwlch ! cofiwn yma—daeth i'w oed
Y doeth Aer hawddgara' ;
Rhinwedd i hwn fo'n rhan dda,
Yn ei lwyddiant cawn wledda.

Daeth dydd llawenydd gwlad Ll'yn—am Eryr
A mawredd i'w ddilyn :
Tystio wna'n gwlad i'n testyn,
Hoffaidd yw Siarls Gruffydd Wynn.

Yn hoenus iawn hyny sydd—yn ennyn
Ynom yr awenydd ;—
Bro Lleyn mewn bri llawenydd
A'i llif yn tryferwi fydd.

Herwydd mab i arab wr,
Hael eu teidiau, hil Tewdwr,
Doed pawb â gwên llawenydd
Yn gu i ddathlu ei ddydd ;
Trwy bob dyffryn a glyn glâs
Aed ei fawl hyd y Foelas ;
Yr un wêdd a Gwynedd gain,
Llondeg fo Dinas Llundain ;
O'n tir fe deflir y du,
Mae'n bro oll mewn briallu ;
Dyfal heddyw, cydfloeddiwn,
Bawb drwy'r lle,—" Hwre " i hwn !

## ODLIG

**A gyfansoddwyd wrth ac wedi gwrandaw ar John Elias yn pregethu ar y testyn "Ac efe a ddyrchafodd gorn iachawdwriaeth i ni, yn nhŷ Dafydd ei wasanaethwr."**

Un difai yn nhŷ Dafydd—a godwyd
Yn gadarn achubydd;
O'i râd daeth yn waredydd,
Efe yn gadarn a fydd.

Un yw ddyrchafwyd mewn nerth,—un enwog,
A ninau yn ddinerth;
Daeth i'r byd ynfyd anferth,
A'r gwael a brynodd er gwerth.

Nerth ddi brin, eorth i brynu,—nerth haeddol
Wrth ddioddef a gwaedu,
A dilesg nerth i dalu
Dros euog, liosog lu.

Nerth i wanobaith, nerth i wynebu
Ffwrn ellyllon, uffern a'i holl allu,
A dwyn ei blant o'i meddiant a'i maeddu—
Nerth Ior ydoedd, a nerth i waredu.
Dwyn hedd a gorfoleddu—ar y grôg
Wnaeth yr enwog Dywysog da Iesu.

Mae Teyrnas addas eiddo,—a deiliaid
    A'i dilyn lle 'r elo,
  Nes gwel'd gwawl hyfrydawl fro
  A'u gwedd yn debyg iddo.

Yn oesawl y teyrnasant,—gydag Ef,
    I gadw gwyl trigant:
  Byth mwy eu gwobrwy a gant—
  Saboth diderfyn seibiant.

---

## ARWYRAIN I ARDDWRIAETH, &c., LLEYN.

Fy Awen, dwyre'n fywiawl
Da it' gain fodd, datgan fawl
*Arddwriaeth,* mewn helaeth hynt,
A hylwydd iawn ei helynt.
Edrych, o ben Carn Fadryn,
Amgylchoedd holl lanoedd Ll'yn ;
O Abérerch, lanerch lon,
I diroedd Aberdaron ;
Teg olwg, ti gei weled,
Ar ei chynyrch gainddyrch ged ;
Mewn dyffryn-dir, bro-dir brith,
Ddigonedd haidd a gwenith ;
A chu nodwyd ei chnydau,
Mewn mariandir, bryndir brau ;
Ll'ynolion, lle anialwch,
Amaethant (os ardd mant swch) ;
Calchant a theilant ei thir,
Goludog y gwnant glaidir.
O prinion ydyw'r preniau,
Nid prin ŷd o hyd i'w hau.
Mae'n llawn o wair meillionog ;
Prin corsydd, prin creigydd crog.
Porf'ydd ei dolydd sydd deg,
Eu gwerth a dâl ei gwartheg ;
Daw gwartheg heirdd-deg o hon,
Fras yrr, fel o fro Saron.

Didwyll L'yn, diadell lon,
Defaid da difai tewion.
Digyrith yw bendith byd;
Eu bara wnant o bur-ŷd.

Cânt enwyn, ymenyn, a maidd,
A chaws, a chig iachusaidd.
Bronydd, pob mynydd fydd fel
Brig Hermon, a bro Carmel.
Gwelir y cerig gwaela'
Naddwyd, yn aneddau da,
A newyddion neuaddau,
O goedydd ei bronydd brau.
Aml manwydd, a ffrwythydd ffrau,
Iràidd lesol eirdd lysiau.
Digonedd o fedd i fin,
Mwy ei les na melyswin;
Ceir pysg o derfysg y don,
Amrywogaeth môr eigion;
Ac adar gwâr ac odiaeth,
Basgedig, addfedig faeth.
Lleyn wlad sydd yn llawn o wledd,
Di ymlid a da amledd;
Gwlad gynes, a mynwes môr
Yn gaerau sydd i'w goror.
Bendith fwyaf, harddaf hon,
Y dêr Efengyl dirion;

Y mae yn hon i'w mwynhau,
Gu rwyddion drugareddau ;
Try hon afradlon i'w fro,
Rhwym dyner wisg am dano :
Clywir sain ei hadsain hi,
Eirianllais hyd dir Enlli.

---

# CYFARCHIAD

I'r Gymdeithas er cospi lladron yn Lleyn ac Eifionydd.

---

NA LADRATA.

Ha wyr! yn frodyr un fryd,
Un aspri o'r un yspryd;
Am ein hiawnder mae'n hundeb,
Heb wneud cam neu nam i neb;
Ofnau na foed heb gyfnerth,
Er neb,—mewn undeb mae nerth.
Un edef, rhy wan ydyw,
Ni ddeil long,—un eiddil yw;
Ond gwnaer plethiad wastad wedd,
A dwyfil o edafedd,
Deil long tra dalio angor,
Er gwynt certh a mawrnerth môr.

I'r un cylch rhag lladron câs
Y daethom yn gymdeithas;
Plaid unawl, gydsyniawl sydd
Yn gwlwm yn ein gilydd.
Erlynwn, gyrwn o'n gwydd
Hen ystryw anonestrwydd;
Dal ar frys—deol o'r fro
Weis Belial sy'n ysbeilio,
A holl blaid y geriaid gau,—
Bachwn, ffrwynwn eu ffroenau:

Ereill, cyn eu camarwain,
Gânt fudd—daw rhybudd i rhai'n.
Gwelir neb yn gwylio'r nos,—
Fe ddichon na fydd achos.
Boed gwir, fe ledir drwy'r wlad,
Dda ogwydd at ddiwygiad ;
Mewn bri cawn honi cyn hir,—
"Yn baradwys mae'n brodir :"
Gwyn fyd ! mi ganaf wed'yn,—
"Pawb ail i'w lle yw pobl Lleyn."

---

## LLINELLAU ESGUSODOL,

**Yn gofyn maddeuant yn hoew-ysgafn i Ellis Owen, Cefnymeusydd.**

Mae rhwydd hysbysrwydd yn bod,
Mai trwm yw tori amod—
Mai fi ohiriwyd—mai f'ais
Yn y boen annibenais.
Euog wy' ers mwy na mis,
Am ddyled—maddeu Elis.
Ail hau mân efrau mewn us,
Gwn, yw dysgu gwneud esgus.
"Gwell ydyw hwyr na hwyrach,"
Sydd eilfydd hen grefydd gwrach.
Troseddwr traws o Adda,
Oferedd wyf, heb fawr dda :
Troseddwyr yw trâs Adda :
I'w lles doed ewyllys da.
Mwyniant maddeuant, mae'n dda ;
Maddeu Elis—meddala,
Heb nag—p'odd bynag y bydd,
Af i annerch Eifionydd.

---

## LLINELLAU

A ddodwyd gan y Bardd yn llaw ei ferch—Sian, i'w cyflwyno i'r athraw—Ieuan Lleyn, ag oedd ar y pryd yn cadw ysgol yn Mryncroes.

A gwir serch 'rwy'n gyru Sian
I'th ddyfal ofal, Ifan ;
I ddisgwyl ei haddysgu
I ddarllen yn gymhen gu.
Os bydd hi mewn d'reidi drwg,
Gwialen wna'r tro neu gilwg ;
Os bydd dro heb eirio'n bêr
Dena hi yn o dyner,
Rhag soddi mewn culni caeth
A bydio anwybodaeth.

## TREMIANT AR Y NWYFRE.

Y greadigaeth odiaethol—a ddaeth
O ddim drwy'r gair dwyfol ;
Mawr iawn yw ; mae arni ôl
Gweddus y Fraich dragwyddol.

Y mae rhyw ddisglaer ddysglau—yn Nwyfre,
Neu afrif lusernau ;
Neu, ydyw hon wedi 'i hau
O luniaidd wawl belenau ?

Braith len fel Eden lawn flodau,—nenfwd
Yn wenferth gan lampau ;
Pelydron llon heb wyllhau ;
Llun parlwr yn llawn perlau.

Pwy luniodd y pelenau ?—pa fysedd !
Pwy fesur eu rhodau,
Eu chwyldro'n gwibio a gwau,
Eu gloewder, a'u treigliadau ?

Seirianwedd nef serenawg,—traethu mae,
Trwy iaith mor adderchawg,
Allu llaw Hollalluawg ;
Gwel entrych mewn gorwych gawg !

Mor deg o'r gwagle mawr daeth—drwy allu
Y droellog gre'digaeth;
Dywedodd, mai da odiaeth
Llu y nef, ac oll a wnaeth.

Naf, lluniwr nef a'i lleni—asurwedd,
A'i seirian oleuni,
Iddo hawdd creu ynddi hi
Rhyw fydoedd heb rifedi.

Tesawg dân tywysog y dydd,—yr Haul,
Rheolwr goleuddydd;
Byd o wres, bywyd a rydd
I wech anian, a chynydd.

Disglaeriol, megys dysgl arian,—yw'r lloer
A'i lluerawl hugan;
Llygaid a deall egwan
Sy'n canfod ei rhôd mewn rhan.

Ei gwên dlôs y nos i ni—lunia deg
Eilun dydd i'n gweini;
Wrth reol ar ei hol hi
Yr ymrolia'r môr heli.

Aml luoedd yn mol awyr—chwai redant
Wych rodau eu llewyrch ;
Trosi, gwau, heb wneyd traws gyrch
O'u cantau acw entyrch.

Trwy ogledd a dê treiglant,—a dirif
O'r dwyrain disgleiniant ;
Lleuo nen gorllewin wnant,
Uchel draw y chwyldroant.

Rhai gwalltog, a rhai gwylltwawr,—rhai gwelwon,
Rhai a golwg eurwawr,
Diderfyn fodau dirfawr
Drwy y fyth agendor fawr.

Tra medrus â'r tremwydrau—y gwelwyd
Gwiwlwys ryfeddodau ;
Ond pell, pell, pell yw ein pau
I gyrhaeddyd y graddau.

Etto, pe dyrcher Newton—a Herschel
I orsaf Caergwydion,
Deallynt mai tyb deillion
Eu traith am eangwaith Ion.

Hwy welynt fil o heuliau—yn sefyll
    Gorsafion eu pwyntiau,
A gloewdeg oleuadau
Gosgorddawl, gwychwawl, yn gwau.

Deddfau Ner yr uchelderoedd—a gadwant
    I gyd o'u gorsafoedd ;
'E gawn ddoethineb ar goedd
Yn gerfiedig ar fydoedd.

Er ad-ddarganfyddiadau—cywreinion,
    Ceir yno ddiffygiau ;
Ior ei hun wyr eu henwau
Aneirif,—heb gyfrif gau !

Gysoned, gryfed yw greddf—holl anian,
    Nis lluniwyd hwy'n ddiddeddf :
Rhoes oll yn oll ddigoll ddeddf
Iddynt, mae ganddynt gynddeddf.

Y ser eres a'r Orion—drwy asur
    Hyd yr oesau meithion,
Edrydd eu claer belydron
Yn eu taith ogoniant Ion.

Eu boreu gân oedd ber gynt,—ter beiriant
    Er boreu gân oeddynt ;
  Eto, cydganwyr ytynt,
  Naf a'u deil,—un fawaid ynt !

Am ei fawredd myfyriaf,—ei hollwaith
    A'i allu ryfeddaf ;
  Ceisio ei chwilio ni chaf,
  Anfeidrol yw,—ni fedraf.

Pa olwg ! drych yn pylu,—a doniau
    Dynion sydd yn pallu ;
  Metha traidd angylaidd lu
  Tra syllynt,—mae tros allu !

Mirain ol bys y Mawredd,—ar erfawr
    Awyrfyd sy' ryfedd :
  Mwynhau a gaffom mewn hedd
  Ei drylwyr anfeidroledd !

---

## ANERCHIAD I EBEN FARDD.

Urdd o glod ro'f i fardd glân,—sef Eben
Sy fab awen eirian;
Diau gwawl enaid y gân
Enynodd yn ei anian.

Tra threiddlym ei grym, awen gref—wenodd
I'w wyneb mewn tangnef;
Iddo y daeth i'w haddef,
A'i blodau oll o'i blaid ef.

Rhyw oruchel aur wreichion—o'i fynwes
Anfonwyd yn Eifion;
Aeth cynnyrch eu llewyrch llon
Ar yrfa o dir Arfon.

Eu hediad gadd eu "hwda"—o alaw
Awelon yr Wyddfa;
Mawreddig, heb chwithig chwâ,
Eu taenwyd drwy Brytania.

Nef oddaith yn ei feddwl—yn ddwys glaer
Ddisgleiriai'n ddigwmwl;
Maethwyd per dda gerdd ddi gwl
Yn ei fynwes yn fanwl.

Llawen noddwr llenyddiaeth—fu Eben
O'i febyd, a'i goethchwaeth
Oedd yn ffrwd ydd awen ffraeth
I'w ddenu i farddoniaeth.

Buan a fu Eben Fardd—i ennill
Uniawn wobr cadeirfardd ;
Edwyn gân adeiniog hardd
Dyn a brofwyd yn brif-fardd.

Awen a grym yn ei gwraidd—yw'r eiddo
O riddyn barddonaidd ;
A thrylen iaith reolaidd
Yn ngwawl bri,—mae'n angel braidd.

Coeth lewyrch cathl ei awen—soniarus
Sy'n euro pob cangen
Ag odlau di-gauadlen,
Yn y gaeth farddoneg wen.

Cynnygier canau o wegi,—efe
Ni fyn eu cefnogi ;
Gŵyr ein iaith,—mae'n gywrain i
Roddi barn rydd heb wyrni.

Gwag enwau, gau ogoniant—aflonydd
O'i flaen a ddiflanant ;
Er gwingo, eu gwawdio gant,
Au boddi—ac ni byddant.

Ei ganghenawg gynghanedd—a godwyd
I gadair anrhydedd ;
Difyrus yw clodforedd
A gair mawr i'r gwr a'i medd.

Anhwylus yw fy nhelyn,—at Eben
I'm tyb ydwyf goryn
O brydydd—byr yw edyn
Awen a llais OWAIN LLEYN.

---

## ADSYNIADAU

**Ar y bwriadau i sefydlu Cymdeithas Cymmedroldeb yn ardal Myllteyrn.**

Anfad yw dwnad dynion,—cwyno mawr,
Can' mil o ddych'mygion ;
Mewn cyffro, brwydro o'r bron,
Y mae'r oes wrth ymryson.

Onid ydoedd gwendidau—anniddan
Yn nyddiau'n hen dadau ?
Yn wir, rhai'n gywir, rhai'n gau,
Sy'n hynod i'n hoes ninau.

Rhai am wirod ormodedd,—rhai am fyd,
Rhai am faw a gwagedd ;
Rhai'n erwin am win a medd,
Rhai am foes, rhai am faswedd.

Rhai'n gwledda'n rhy gywilyddus—a lwythant
Yn lythion a gwangcus ;
Rhedant, a brysiant heb rus
I afrad,—bwriad barus.

Rhai mewn hedd sy'n gwledda,—cant fwyd i'w min,
A gwin a'u digona ;
Dim gloddest, ond dirwest da,
Ac enwog fel gwledd *Cana*.

Da ewyllys i'r deillion,—a rhoddi
Yn rhwydd i rai tlodion ;
Ar lwydd o hyd mae'r wledd hon
A fo rydd i efryddion.

Cymhedrol, ddethol wledd dda—gyda Ior
Ġaed yn Galilea ;
Bwyta'n llon a'u digona,
A'u gwlybwr, dwr yn win da.

Y munud y gorchymynodd—Dofydd,
Y dwfr ufuddhaodd
I'w Greawdwr, a gwridodd,
Ac yn win da 'i rin a drodd.

Fel rhyw ryfedd goleddwr—dull arall,
Daw Llwyr-ymataliwr ;
Gwan iawn ddull, troi gwin yn ddwr,
A dreulio'r cymedrolwr.

Deol iawn reol ni raid—addas yw,
A gweddus i'n cyfraid ;
Dwfr i'r meddwon blinion blaid,
A rhoi gwin i'r rhai gweiniaid.

Yfed gwin a fo digonol—heb warth,
    Ymborthi'n gymhedrol;
  Nid byw'n fochynaidd, ffiaidd, ffol,
  Gwyddys a wna dyn gweddol.

Sa yn dy rych,—os iawn drefn—na newid
    I newydd gyfundrefn ;
  Na fyw mewn unrhyw annhrefn,
  Gwylia dy droed, gwel dy drefn.

---

## Y BIBL.

Gair Ion i ddynion a ddaeth—er dangos
Chwerw dynghed dynoliaeth ;
A'r newydd dedwydd y daeth
Y dirion iachawdwriaeth.

Mae'n wir, mae'n gywir i gyd,—ei Awdwr
Ydyw Duw trwy'i yspryd ;
Llythyr i bob llwyth o'r byd,
A bywiol air y bywyd.

Trugaredd ddaeth trwy gariad—anfeidrol
Na fedr dyn ei ddirnad ;
Duw i ni yn rhoddi'n rhâd
Y Bendigedig Geidwad.

Lle i greadur llygredig—i dd'od
Yn ddyn adferedig,
I ddelw Duw heb ddal dig,
A'i godi'n fendigedig.

Cyfarwydd teg gyfeiriad—o Foses
I faes y Datguddiad,
I wir ddrws trugaredd râd,
Trwy Fendigedig Geidwad.

O! ynfydrwydd anfeidrol—a geudeb
Yw gwadu'r gair dwyfol;
Y taeog anffyddiog ffol
I oleuni'n elynol.

Yr oedd wedi arfaethu myned yn mlaen gyda'r Testament Newydd drachefn; ond rhoddodd y "gelyn olaf" derfyn ar ei fwriad, wedi ysgrifenu o hono yr englyn tarawiadol hwn yn unig:—

Gwir ydyw daeth Gwaredydd,—tystio mae
Y Testament Newydd;
Yn ol arfaeth daeth y dydd,
Dyfod wnaeth Crist, mab Dafydd.

---

## PENNILL

A ysgrifenwyd ar dudalen enwol Bibl.

Anrheg ydyw roddwyd ini
  Gan Ddoethineb nef ei hun ;
Hon gynnwysa aur-drysorau ;
  Gemau gras i godi dyn ;
Blwch o berlau'r wlad bellenig,
  Lle mae aur yn llwybrau traed,
Dreiglodd yma i rai tlodion
  O dan sel y dwyfol waed.

---

## CADWRAETH Y SABBOTH.

O, dysg ini gofio drwy'n bywyd
  Y dydd a bennodwyd yn wyl,
A chadw'n calonau uchelfryd,
  Gwna'n hysbryd yn hyfryd mewn hwyl,
Fel byddo dy fawl o'n halloran
  Yn glir o holl boenau y byd,
Er cadw dy Sabboth yn seibiant
  I'th glod a'th ogoniant i gyd.

---

## CYMHELLIAD EFFRO AR BECHADUR.

O deffro di, bechadur swrth,
Cyfod oddiwrth y meirw;
Cei oleu haul cyfiawnder glân,
A chân yn llewyrch hwnw.

---

## DYLEDSWYDD DYN.

Nid iawnder enaid undyn—a fo
Anufudd a chyndyn,
Addoli Duw ddylai dyn
A gwylio rhwyd y gelyn.

---

## WEDI GWRANDO PREGETH.

Ei brif bwngc a brawf pa wedd—y caed Un
I'n codi o'n llygredd,
A golwg am ymgeledd
Yn nghanol haul efengyl hedd.

Duw roes gymmod dros gamwedd—yn gyflawn
Yn yr Iawn a'i rinwedd;
Ei ddeiliaid o ddialedd
Gânt alwad i wlad y wledd.

---

## Y BABAETH.

Ah! Rhufain erfawr ei rhyfyg—sydd am
    Sedd Ior yn ymgynnyg;
  Gwyliwn Bab a'i galon byg,
  Ei ddu ormes, a'i ddirmyg!

Gwaed Saint er ei godi i'w sedd—gafodd,
    Mae'n gyfaill dialedd;
  Goferiad ei gau fawredd
  Oedd ffrydiau clwyfau y cledd.

Diddymer, bodder Pabyddiaeth—eofn-dyb,
    Yn nyfnder diflaniaeth,
  Na bo un gwr yn byw'n gaeth
  I'w delwau na'u hudoliaeth!

## ARALLEIRIAD O WEDDI'R ARGLWYDD,

### AR FESUR SALM.

Ein Duw a'n Tad, a'n Crewr oll,
Rhoddwr ein holl gynnaliaeth ;
Tad wyt i'th fabwysiadol blant,
Trwy haeddiant prynedigaeth.

Wyt yn y nef o fewn dy sêdd,
Mewn mawredd a gogoniant ;
Yn wrthddrych teilwng yn dy lys,
O ddilys wir addoliant.

Sancteiddier d'enw drwy'r holl fyd,
A llwyrfryd ein calonau ;
Gyda'n gwaith ar foreu a hwyr,
Yn llwyr gyda'n holl eiriau.

Bydd Amddiffynydd in' o hyd
Tra yn y byd y byddom ;
A llywodraetha ni â'th ras,—
Dy deyrnas deued arnom !

Gwna in' foddloni ar dy drefn,
Heb droi ein cefn mewn hawddfyd ;
Ond myn'd i'r llwch, a llyfu'r llawr,
Pan ddelo awr caledfyd.

Megys y mae'r nefolaidd lu,
Dda deulu yn ddidoliant ;
Eu Crewr Mawr, â nwyfiant byth,
Yn ddilyth iawn addolant.

Dyro i ni feunyddiol faeth,
Cynnaliaeth wrth angenrhaid,
Yn nghyda blas ar hyfryd wledd
Byw rinwedd Bara Enaid.

Maddeu i ni lle'r ym ar goll,
Rhag maint ein holl bechodau,
Fel y maddeuwn yn ddiŵg
I'r rhai wnaeth ddrwg i ninnau.

Ac na arwain ni yn gaeth
I brofedigaeth ddygyn ;
Ond bydd Waredydd in' rhag drwg,
A chilwg anwych elyn.

Can's eiddot Ti y deyrnas fry,
Y gallu a'r gogoniant ;
Tydi ein Ior, ein Pôr, a'n Pen,
Amen, ein holl ddymuniant.

---

## CAROL NADOLIG.

Clywch! clywch! rhyw nefol hyfryd sain
Ar blygain Dydd Nadolig;
Sain engyl yw âg uchel gân
I'r difai lân Bendefig
A ddaeth i'r byd mewn dynol gnawd
I achub tlawd colledig.

Cydunwn a chaniadau'r nef
I leisio llef gorfoledd
I'r Maban anwyd in' mewn pryd,
Er cael i'r byd ymgeledd;
Ymuno wnaeth â llwch y llawr,
Tywysog Mawr Tangnefedd.

Ys, Abraham â llygaid ffydd,
O bell ei ddydd a welodd;
Ac megys seren, bron tan gel,
Yn uchel llawenychodd;
Ond heddyw Haul Cyfiawnder mawr
Ar lwch y llawr ddisgleiriodd.

Mae mesur cariad Tri yn Un,
I farwol ddyn yn rhyfyg,
Yn anfon Crist i wisgo cnawd,
A goddef gwawd a dirmyg;
Er mwyn rhyddhau y byd oedd gaeth
Ef iddo ddaeth yn Feddyg.

Er goddef gwawd y byd a'i ŵg,
  A chilwg mynych elyn,
A holl gyrchiadau'r fall a'r byd
  Yn unfryd yn ei erbyn,
Ni luddiwyd ef, ar lwydd y daeth
  Brenhiniaeth y Blaguryn !

Llew o lwyth Juda, mawr ei nerth,
  A gaid yn ferth Orchfygydd ;
Ac oen diniwed yn ei nôd,
  Yn dyfod o lîn Dafydd ;
Neu, ddafad fud na wnelsai fai,
  Oedd ddifai ddioddefydd.

Y Llywiaeth ar ei ysgwydd gref,
  Fe'i gelwir ef, Rhyfeddol ;
Diwyrni a chywir yw ei farn,
  Duw cadarn, Tad trag'wyddol ;
Tywysog Hedd, i'r hwn y daeth
  Brenhiniaeth annherfynol.

Trwy Edom, a thrwy Bozra'r aeth,
  Milwrio wnaeth, ni phallodd ;
Gan ddal ei dir heb droi ar ŵyr,
  Y frwydyr lwyr ennillodd ;
A'i fŵa cryf a'i gledd yn llym,
  Yn aml ei rym ddychwelodd.

Rhyfeddod pob rhyfeddod yw
  Gwel'd gwir Fab Duw bendigaid
Yn gwisgo natur dynolryw,—
  Llun Duw yn llon'd ei enaid ;
Ac yn y byd yn goddef poen,
  Fel addfwyn oen dinwaid.

Y gyfraith oll oedd yn ei reddf,
  Cyflawnai'r Ddeddf yn berffaith ;
Ar ben Golgotha un prydnawn,
  Y talai'r Iawn ar unwaith ;
Fel gwlith y wawr y gwêl ei hâd
  Yn ei ddyfodiad eilwaith.

Daeth drwyddo'r Iachawdwriaeth râd
  Yn rhinwedd Gwaed y Cymod ;
Fe'i gwnaed er cyfoethogi'r tlawd,
  Yn gyfaill, Brawd, a Phriod ;
Ceir yn ei haeddiant Drysor mawr,
  Doed llwch y llawr i'w ganfod !

Canfyddwyd ef heb arno fai
  Yn nwylaw rhai annheilwng
Nes iddo wneuthur ei holl waith,
  A'r Gyfraith waeddi,—" Gollwng
Ef yn rhydd, mi gefais Iawn
  Yn daliad cyflawn deilwng."

## Y WENYNEN.

Gwenynen gonynog,—effro allu,
Fferyllydd fodrwyog,
Casgl yn hoew, mewn gloew glog,
Fêl da o fro flodeuog.

ARALL :

Fferyllydd effro allu,—golynog,
Gwawl anian i'w dysgu :
Mêl pan y dêl gauaf du,
Da yw oll i'w diwallu.

ARALL :

Dewr hoew bryf modrwyog,—effro allu,
Fferyllydd mêl enwog,
Cadd reddf, a chynneddf, a cho',
Gan anian, edn gonynog.

ARALL :

Bywiol edn, sugnydd blodau,—try allan
Trwy allu chwyrn hwyliau,
Gan suo, gwibio, a gwau,
Mal y dêl mêl i'w diliau.

ARALL :

Edn ytyw a dawn natur—i'w chymhell
Yn chwim at ei llafur ;
Ei mael heb ball yw mêl pur
I'w phreswyl yn dra phrysur.

ARALL :

Edn gain a chywrain ei chwaeth,—gonynog,
Gan anian ca'dd archwaeth ;
O dan gêl mêl yw ei maeth,
Hoff yw'r oll o'i fferylliaeth.

ARALL :

Edn wisgi ydyw'n esgyn—i'r wybren
Ar ebrwydd chwyrn edyn ;
Casgl yr haf felusaf lyn :
Gocheler rhag ei cholyn.

ARALL :

Ymd'rawus bryf modrwyog,—edn ytyw,
Dawn natur i'w hannog ;
Casgl fêl, bydd dawel dan dô,
Gwenynen chwyrn gonynog.

---

## Y GOLOMEN.

Edn bach ddiniwaid yn byw—yw'r G'lomen,
Galw mae ar ddynolryw,
I'w nodwedd—addfwyn ydyw ;
Ond ei chaban, aflan yw.

---

## Y WENNOL.

Symudol ansiomedig—yw'r wennol,
Ar wanwyn daw'n ystig;
Ei hoff waith yw dal â'i phig
Y gwybedyn gwibiedig.

---

## Y CRANGC.

Crafaglach cryf ei heglau,—o'i amgylch
Mae ymgyrch y tonau;
O tan gêl mewn cisten gau,
Gyw mantellawg mewn tyllau.

Anaddwyn ewineddawg,—uthr fodiau,
Gefeiliau gafaelawg;
Crawenog yw, crwn ei gawg,
Pa garnau mwy pigyrnawg?

Llym ei arfau, lle merfwyd,—o forchwyn
Ca farchog ddanteithfwyd;
Heneiddliw, cochliw, cuchlwyd,
A cheg boer, a chawg, a bwyd.

Ymreibiwn am yr abwyd,—hyf ytwyf,
Af ato heb arswyd;
Mynaf ei gael i'm haelwyd
Allan o'i bau,—mae'n llawn bwyd.

## Y BRITHYLL.

Yn ei awydd, un eon—yw brithyll,
Yn brathu abwydion ;
Chwim nofiedydd, llywydd llon
Drwy lif y dryloew afon.

---

## Y DYFRGI.

Esgud-lam hirgam herw-gi—yn tario
Yn y tir a'r weilgi ;
Pysgotta, lloffa mewn lli'
Yw difyrgamp y dyfrgi.

---

## Y MARCH.

Mor hoew yn tramwy'r heol—yw y march,
Am orchwyl mae'n nerthol ;
Uthr ei naid, ni thry yn ol
Y' ngwyneb eirf angeuol.

---

## ENGLYN I'R LLWYNOG.

[Dyma yr englyn goreu ar y Llwynog a anfonwyd i Eisteddfod Freiniol Aberffraw yn 1849, ond ei fod yn rhy ddiweddar, ebe'r beirniad].

Lleidr distaw, cadnaw mewn cell,—herw gi
Hir gorff a llawn dichell ;
Be digiai bawb, dwg o bell
Irgig i'w gudd ddaeargell.

---

## Y MORGRUGYN.

[Buddugol yn Eisteddfod Llundain, yn y flwyddyn 1855].

Ar agwedd y morgrugyn—da edrych,
Diwydrwydd mae'n ddilyn ;
Wrth ei waith ei iaith yw hyn—
" Diwygied pob diogyn."

---

## Y NEIDR.

Ffithlen fel gwden blygedig—yw neidr,
Yn edrych yn ffyrnig ;
Braith dorch a fforch yn ei phig,—
Un o anian wenwynig.

---

## YR ENFYS.

Bŵa ar wlaw mewn wybr laith—côf am y
Cyfamod wnaed unwaith ;
Na foddir, na chuddir chwaith,
A diluw y byd eilwaith.

---

## Y DARAN.

Awyr drom trostom yn trystian,—tyrfu
Mewn terfysg mae Anian ;
Clyw acw'r bŵa'n clecian
A'i fol dig yn ufel dân.

---

## Y NITHIWR.

Llaw beiriant, lle i buro—y grawn yd,
A'i ogrynu drwyddo :
Y gwâg us ä o'i geg o,
Hwnt allan trwy wyntyllio.

---

## YR AWRLAIS.

Awrlais, ei fwynlais a fedd—a lanwyd
Ag olwynog berfedd ;
Fy oriau hyd bau y bedd
A fesur ef a'i fysedd.

## Y WINWYDDEN.

Hydyfol, gydiol, hardd goeden—yn deg
A dardd o'r ddaearen ;
Isel a brwysg yn salw bren
Y wan eiddil winwydden.

Anwastad wydden ystwyth,—gwasgarog
Gwisg îrion ddail esmwyth ;
Yn deg a ffrau y dwg ffrwyth
O winrawn—irlawn orlwyth.

Rhinweddau o'r winwydden—wna egwan
A'i agwedd yn llawen ;
Madredd poeth a moedredd pen
. . . . . . o'r un gangen.

Nôdd y lwys winwydden lawn—weinyddir
Yn addysg synwyrlawn
Gyda grym,—sef gwaed ei grawn,
Er cofio gwaedu'r Cyfiawn !

---

## Y LILI.

Anian yn dangos ini—air ydd Ion
Ar ddysg yn rhagori :
Ber oedd gwisg Selyf mewn bri,
Ail olwg wrth y lili.

# ANNERCH

I Gymdeithas Lenyddol Cefnymeusydd.

Athrofa athraw Eifion,—annerchaf,
Mae'n orchwyl hyfrydlon ;
Ar sail serch mae'n hannerch hon
Yn ngolwg, ac o 'nghalon.

Wele nawdd i lenyddiaeth—lle saif
Llysieufaes gwybodaeth ;
A gwyr o'i fewn a gâr faeth,
Iach ei nôdd, a chynnyddiaeth.

Llawn o addysg llenyddiaeth—yw'r eiddoch,
Er addurn dynoliaeth ;
Trwy fwynhau ei ffrydiau ffraeth
Daw y byd i wybodaeth.

Nef i wan yw Eifionydd,—nef addysg
Na feddwn ei heilfydd ;
Perlysiau a seigiau sydd
Yn ei maes yn Nghefnmeusydd.

Llenyddiaeth drodd fwngloddiau—am emau
Mammaeth celfyddydau ;
Deil y gwir, deol y gau
Drwy loew iaith ei darlithiau.

O lysieuardd Elis Owen,—tyfed
Etifedd cathl lawen ;
Olrheinied, a hulied hên
Fwysïau ar faes awen.

Coeliwch ymadrodd calon,—minau'n fardd,
Mynwn fod yn gyson ;
Er gwel'd cynnyrch llewyrch llon
Yn nifyr Athen Eifion.

Un gris yn uwch (grâs a wnel)—i bawb oll
Babellu'n ddiogel,
Hebio Athen yn Bethel,
I ddal mwy o ddiliau mêl.

Eu nodi'n ychain hydyn,—a didwyll
Hyd adeg eu terfyn ;
A choder hwy'n uwch wedy'n,
Hyny yw llais OWAIN LLEYN.

---

## CYNGHOR

I ymwelydd ieuangc o Dremadog.

Cofiwch a byddwch heb wad—yn sobr
Is wybren yn wastad ;
A chofiwch, heb un chwyfiad,
Am eich tŷ, eich mam, a'ch tad.

## CYFARCHIAD

Ar *launch*—llithriad, *neu* ddisgyniad llong o'r enw "Anna Dorothea" i'r môr.

"Anna Dorothea" heinif,—gwech yw
Ar gychwyn i'r cenllif;
Ewybr ei llam yn llwybro llif,
Ar ymarllwys i'r morllif.

Mewn gwisg wen yr heirdd hwylbrenau—o chaf
Yn chwyfio'u banerau;
O ran eu gwedd, fel rhai'n gwau
Am y ser a'u mesurau.

O'i llech oedd yn ei llochi,—yn hoewfalch
Ei nawf, aeth i'r weilgi;
O dan ei hwyl,—dyna hi
Fel alarch ar fol heli.

Gwerdd ei lliw, gwrdd ei llywydd,—y dwylo
Yn deilwng a chelfydd;
Pawb i'w waith i'r fordaith fydd
O un galon a'u gilydd.

Y lleni oll yn llawn o wynt,—i'w rhedeg
Ar hyd y crych gerhynt
Yn ol heb anhwylio'i hynt,
Rhwng heli a'r ang hwylwynt.

Mae'n hyf yn llamu Neifion,—try allan
    Trwy allu'r awelon ;
  Ar lwybrau maith y dewfraith don
  Llwyddianus fo'i llywydd union.

Y llyw o'i hol i'w rheoli—am bwynt
    I Bombay heb oedi ;
  A nydwydd yn dynodi
  Holl lwybrau maith llaith y lli'.

Allan i'w thaith yn llawn ei thor,—cestog
    Fel castell ar gefnfor,
  Yn mordrosi mawr drysor
  Dros wyneb llaith maith y môr.

  Yn nghell y castell costus
  Y moriant, brysiant heb rûs ;
  Mewn lloches yn mynwes môr
  I'w fordrosi fawr drysor.

Y llywydd doeth a llwydd da—a ddalio
    Yn ddilesg i'w yrfa ;
  I'w fri doed yn hyfryd, a
  Dewr o randir yr India.

Glanio yn un o'n glenydd—a'i feddwl
    A fydd yn Eifionydd ;
  Ac yna ar redfa rydd
  Ymosod am Gefnmeusydd.

## CYFARCHIAD

I Mr. Hugh Pugh, ceidwad helwriaeth Nannau, ar ei ymweliad cyntaf â Lleyn, i adara.

Ar fwriad o sir Feirion—y daethoch
I deithio Lleyn dirion ;
Dechreu hel hyd ochrau hon
O'r gelltydd adar gwylltion.

Gwae'r adar ! nid oes gwaredu,—hap wael,
Mae Hugh Pugh yn saethu ;
A main olwg mae'n 'nelu,
Dwg i lawr ffōedig lu.

Gwylio cyn lladd yn gelain—a dewrgamp
Mae'r adargi'n ffroenfain ;
A'n hoewych Hugh yn hau chwain
I'w rhwydo ar eu hadain.

Was ethol, chwai y saethwch—yr adar
Ar hediad, ni fethwch ;
A hoff lem law a fflam lwch
Yn gampus hwy a gwympwch.

Hugh must have pleased his master,—so I find
He is fond of his keeper ;
He's very wise everywhere,—
Not a fool, but a fowler.

Gwedi ymweliad Hugh Pugh, un boreu, â Bodnithoedd, tra ar ei daith i Feillionydd i adara, cyfansoddodd y bardd hanner dwsin o englynion ar yr achos mewn ffurf o ymddiddan rhwng y bardd a'r petris, fel y canlyn :—

Braw o odreu bro Idris,—O, gwyliwch !
Daeth gelyn y Petris ;
Och ! y mae egwyl eich mis
Difyr chwi cyn pen deufis.

Byd trist i'r petris,—tân Puw—a'i ddyrnod
Ddaw arnoch fel diluw ;
A thriniaeth gwaeth . . .
A gwaew wneir gan gŵn Huw.

Y PETRIS YN ATTEB :—

Y gwr eofn nid ofnwn—draw encyd,
Ei strangciau ddyallwn ;
Ei dwyll daith a gwaith ei gŵn,
Ei lofrgamp ef a'i lyfrgwn.

Y BARDD :—

O, tewch, tewch ! chwi gewch y gwr—eleni'n
Greulonach na milwr ;
Ciaidd, dewraidd adarwr,—
Dyn a daith drwy dân a dwr.

YR HEN BETRISEN YN ATTEB:—

Duw in' yn nawdd! adwaenwn e'—gelyn
A golwg anaele;—
Huw a'n lladd,—nid da ein lle,
Ffarwel! rhaid ffoi i rywle.

Y BARDD YN CYNGHORI:—

Ehedwch nerth eich hadain,—ewch ar frys
Rhag chwerw fraw milain;
Ciliwch oll, rhag cael ei chwain,
I ryw dir o du'r dwyrain.

---

## DYFODIAD ETIFEDD GLYNLLIFON I'W OED.

Aer glwys a anwyd i'r Glyn,—newyddlwys
Yn nawddle i'w dderbyn;
Sylwedd gref ar sail ddi gryn,
A chreu bloedd ddechreu blwyddyn.

Wele, anferth goelcerthi—yn ganoedd
O Gonwy hyd Enlli;
Entyrch eu llewyrch fel lli'
A oreurodd Eryri.

## ARWYRAIN TREFRIW.

Cyfansoddedig ar ddymuniad John Hughes, Tyddyn Cau, yn herwydd syberwyd teulu Tŷ Isaf, Trefriw, tuag ato, tra yn ymwelydd â "Ffynnon Cae Coch," er adferiad i'w iechyd.

Trefriw, lle gorwiw a garaf,—hiraeth
O'i herwydd sydd arnaf;
O ran bri, nodi a wnaf
Y dewisawl Dŷ Isaf.

Esgud, a chymmwynasgar—y teulu
Teilwng a chyfeillgar;
Uniawn 'ynt o anian wâr,
Oll at agwedd llettygar.

Meistres a Misses am estron—gefais
A'u gofal yn dirion;
Manwl fenywod mwynion,
Y goreu sydd, medd gwir Siôn.

Dau frodyr difyr ydynt,—â'u tuedd
Tawel heb gyngorfynt;
Rhai ffyddlon i estron 'ynt,—
Meib hylaw yn mhob helynt.

Ni ddymunwn ddim mwynach—modd i gael
Meddyginiaeth ratach;
Lle difyr oll, a dwfr iach
Dora ofid yr afiach.

Dwfr glân "heb arian, heb werth,"—cu y ce's
Yn Cae Coch heb drafferth;
Rhoddiad Ner, yn adfer nerth,
A ordeiniwyd i'r dinerth.

I'r llesg, mor ewyllysgar—gwythenau
Gwaith anian yn darpar,
Fel diod o fol daear
Gwell i mi na "Peli Parr."

Ni welais le anwylach,—na theulu
Na thalaeth hyfrytach;
Un wyf, aeth yno'n afiach,
Yn fy ol yn heinyf iach.

Chwi, deulu, iach a diloes—a fyddoch
Drwy feddu hir einioes;
Cael drwy ffydd grefydd y Groes,
A golwg ar deg eiloes.

---

## DIOLCHGARWCH

**I'r Parch. D. James, Llangwm, am anrheg o "Gorph y Gaingc," sef casgliad o ganiadau detholedig, gan Dafydd Ddu Eryri.**

Cefais Gaingc, hoywgaingc yw hi—o gyff hen
'E geiff hon ei pherchi;
Cain awen braf, ceingciau'n bri,
Iach wir ffydd a chorff iddi.

I Dewi'r wyf fi o wir fodd—yn diolch,
Un diwyd anfonodd,
Im' o'i gariad myg yrodd,
Ddawnus wr, ddaionus rodd.

Hynawsaidd gymwynaswr – yw Dewi,
A diwael gefnogwr
Ap Iago yw: Pa aegwr
Loewa gân yn ail y gwr?

Hyf lonwych hoewaf flaenor,—o Langwm,
Hael iawnged ei drysor,
Beunydd bo gynnydd i'w gôr,
Cu erfynia Corfinor.

## GOFWY TALHAIARN AG ABERFFRAW.*

Wele hai, ow Talhaiarn—annoeth ben
Wnaeth y byd yn wasarn;
Ei gân deg dros dri'gain darn
I'w difa yn y dafarn.

Darluniodd hyd dorlanau—daear oll
A di rif blanedau;
Wedi hyn gwawdio a hau
Ei addurnwaith yn ddarnau.

A'r bobol ga'dd y cyrbibion,—pawb oll
A'u pibelli'n llawnion;
Egwyl fawr y glafoerion,
A saethu mwg syth y' Môn.

---

* Yr ymweliad uchod oedd achlysur cymhlethiad yr englynion a'i dilynai, wedi bod Talhaiarn yn cystadlu ar "Awdl y Greadigaeth," testun y Gadair yn Eisteddfod Freiniol Aberffraw, 1849, pryd yr oedd ei awdl yn cael ei chyfleu gan y beirniaid tua chymmydogaeth yr ail ddosbarth, yr hyn a gynneuodd yn ei fynwes y fath yspryd ammheüus fel ag i fynu ei gopi yn ol yn ddiattreg—llyfr costfawr, wedi ei rwymo mewn morocco pur—galwodd ar ei edmygwyr i'w ddilyn allan o'r babell: aethant ar ei ol yn dyrfa fawr; esgynodd yntau i ben clawdd, lle y traddododd araith feiddgar a chyffrous, gan rwygo y copi cyfrgain o awdl ei greadigaeth, a lluchio y darnau i bedwar gwynt y nefoedd, gan waeddi, "Dyna ddinystr y greadigaeth!"

Nid yw Tal ronyn talach ;—truenus
    Troi hwn yn fwy llegach ;
  Ei fawredd sydd yn fyrach,
  Tra yn y bôn—truan bach.

Dringo wnaeth i dir anghall,—a neidio
    Lle nad oedd yn dyall ;
  A cholli tir—gwelir gwall ;
  Ië'n wir—Owain Arall.

## DWYS FYFYRDOD AR FARWOLAETH IEUAN LLEYN,

Yr hwn a fu farw Awst, 1832.

Angau sydd nychydd du, noeth,—nid eiriach
Y dewr, na'r synwyrddoeth :
Pa wedd yw diwedd y doeth ?
Yr unwedd a'r gwr annoeth.

Tyr y cawr i lawr o'i lys,—yr unwedd
A'r anwr ar ddyfrys,
Ni ddeil gwr pan ddelo gwŷs,—
Munud awr mwy nid erys.

Daeth i Leyn adwyth a loes,—torwyd
Ein tirion Fardd Bryncroes ;
Gwelwodd ei wedd â gwaewloes ;
Darfu ef—didwrf ei oes.

Coeth lewyrch cathl ei awen—a giliodd
Dan gel is tywarchen ;
Noswyliodd einioes haulwen,—
Deuodd nos, duodd y nen.

Duodd nen ein tudwedd ni,—y gaddug
A guddiodd Eryri,
A Charn Fadryn, bryn y bri ;
Dychrynllyd ochrau Enlli.

Tost fu daearu derwydd,—Lleyn fro
Sy'n llawn o friw beunydd ;
Trist Arfon, o'r son y sydd
O'i fyned, ac Eifionydd.

Ei fri fu'n lloni gwyr Ll'yn,—ei fyned
I'r fonwent oedd ddychryn ;
Bod gwall am ddoethgall wiw ddyn,
A gododd hiraeth gwed'yn.

Isel, gwael, a sâl ei gwedd—yw'r awen,
Oer yw y gynghanedd ;
P'le cawn lân gerdd gyfanedd,
Ys, Ieuan bach sy'n y bedd ?

Tromloes ga'dd Bryncroes, a braw—i Elrhiw,
Llanfaelrhys ga'dd gyffraw ;
Iaith oes bro Daron ni thaw,
O ethryb eu mwyn athraw.

Dolur a ddaeth i'n dilyn,—och finau,
Och fynwes lawn dychryn,
Gwel'd rhoi Ieuan, ddiddan ddyn,
O'r byd, i fro'r abwydyn !

Ieuan Lleyn, awen a llais,—och fi,
Ni chaf hwy, er ymgais ;
Mi wylaf am a welais ;
Prudd wyf am ei glwyf a'i glais.

Dewr oedd mewn daearyddiaeth,—da esgud
Y dysgai nawfyddiaeth ;
Lladmerydd, hoff rifydd ffraeth ;
Hy' yn nifwl hynafiaeth.

---

## MYFYRDOD

**Uwch bedd y Parch. James Hughes a'i briod, yn mynwent Meillteyrn.**

Iago a Mair ydoedd o gymmeriadau
Hynaws,—unedig yn eu syniadau ;
Tynent yn fad o hoff rediad ffrydiau
Dwyfol addewid a'u dyfal weddïau ;
Mawl Ion ydoedd fal mêl i'w heneidiau,
Mêl a gwin newydd oedd mawl eu geneuau ;
Aent o'n gŵydd, ddedwydd ddau,—hwy arweddwyd
Di rwyg ollyngwyd i oergell angau.

Dau yn iselaidd wedi noswylio ;
Chwi, y bywolion, trowch heibiaw wylo,
Mawr elw iddynt fo'u marwoleiddio ;
Awel y dyffryn, gwylia eu deffro,
Dal oes awyr yn dawel i'w sïo ;
Hyd enyd eu haduno—yn fendigaid
Gyda'u dau enaid, gwedi dihuno.

---

## AR FEDD

**Mrs. Owen, priod y Bardd.**

Dorothy fu gu ei gwedd—i'w cha'mol,
A chymhwys ymgeledd,
Yr hon aeth er ei rhinwedd
O le'r byw i wely'r bedd.

## AR GLADDEDIGAETH

**Jane, merch Mr. a Mrs Jones, Crugeran.**

Llathraidd deg i'engaidd gangen—a wywodd,
Ow, ow, werdd dywysen !
Roed i'r arch is tywarchen
Tan gudd, er rhybudd i'r hen.

Mae hi'n huno, a mi'n hynach—yn byw,
A'm beiau yn amlach ;
I angeu aeth f' ieuengach.
Ys, yn y bedd mae Sian bach.

Marw yw hi, mae ar wahan—i'w theulu,
O'i thelaid wedd eirian ;
Yn fud ei symud ga'dd Sian
I graig oer o Grugeran.

Geneth gu yn meddu moes,—y fanon
Ni fynai wag anfoes ;
Ior hael (mae'n gobaith) a roes
Ddiddanwch ddiwedd einoes.

I'engctyd glân buan boed—gwyliadwriaeth,
Gwel daearu'ch cyfoed ;
A i drangc yr ieuangc oed,
A'r heinif, fel yr henoed.

## DAU ENGLYN

A gyfansoddwyd wedi edrych ar gladdu Mrs. Mary Jones, Pen-y-bont Seithbont, Llandegwning.

Yma rhoddwyd Mair heddyw,—tŷ anghof
Yw tynged dynolryw ;
Nos adeg einioes ydyw,
A noswyl faith nes ail fyw.

Yn gu i'r Iesu hi roes – ei chalon,
A chiliodd rhag anfoes ;
Daeth y dydd—mewn ffydd y ffoes
I lawenydd ail einioes.

---

## AR FEDD

Brawd y Bardd –Mr. Griffith Owen, Fox Hall, yn mynwent Eglwys Henllan, Sir Ddinbych.

Yn hoewlon ddyn o Leyn 'e ddaeth—Gruffydd,
Gwr hoff o'i gym'dogaeth ;
I'r bedd, oer annedd, yr aeth,
Lle mor wael—llaw marwolaeth.

Ior clau trwy angau a'i troes,—gobeithir,
I'w gau byth rhag tromloes ;
A'i ddwyn o ddrygedd einioes,
I'w nawdd yn niwedd ei oes.

## BEDDARGRAFF

**Ann, merch William Davies, ceidwad Goleudy Enlli, y gyntaf a ddaearwyd yn mynwent newydd Aberdaron.**

O ! fynwent, ai Ann fwynaf,—a gefaist
I geufedd yn gyntaf ?
Ing a nych gael cangen haf,
Yn gwywo cyn y gauaf.

Ior biodd roi ei bywyd,—Ior hefyd
Ai rhifodd bob enyd ;
Ac ef i'r lan a'i cyfyd,
O allu bedd i well byd.

---

O, habitation of the dead,
The first that to thy bosom fled
Was Ann, who faded in her bloom,
And fell untimely to the tomb.

She shined awhile like the new moon,
But disappeared before life's noon ;
Yet this mortal part shall rise,
To better realms above the skies.

**Gan nad oedd y tad yn deall Cymraeg yn dda, dymunai am i awdwr yr englynion wneyd math o gyfieithiad neu aralleiriad o honynt i'r Saesneg, yr hyn a wnaed fel y gwelir uchod.**

## AR FEDD

Tad a mam y Bardd, yn mynwent Bottwnog.

Ar Iesu eu pwys roesant,—a'i fendith
Fwyndeg dderbyniasant;
Eu hil, os trefn gynnaliant
Fel hwynt-hwy, y gwobrwy gânt.

---

## AR FEDD

John Evans, Pant-y-rhwch, a'i wraig, yn mynwent Llanengan.

At yr Iesu y troesant—a'i ddilyn
A'i addoli wnaethant;
Yn Iesu yr hunasant,
Byth mwy eu gobrwy a gânt.

---

## AR FEDD

John Daniel Michael, cerfiwr ar feddlechau.

Athronydd llythyrenau,—cywir fu
Yn cerfio beddlechau;
Och hynt! dyma'i lech yntau,
'E gaiff hon ei hir goffhau.

---

## BEDDARGRAFF

**A gyfansoddwyd i'r perwyl o fod ar fedd y Parch. Michael Roberts, yn mynwent Dyneio.**

**(Buddugol.)**

Dyn oedd Michael dan nawdd y Meichiau,
A gu nodwyd yn mysg Hedd Genhadau,
Traethai dreiddiawl bur goethawl bregethau
A thuedd addwyn blaenffrwyth ei ddyddiau ;
Dyn ëon ydoedd yn denu eneidiau,
A mawl Ion, oedd, fel mêl o'i enau,—
Od ydoedd dan wendidau,—ca'dd lewych
Mwyn wawl gorwych, yn min haul y gaerau.

---

## MARWOLAETH GENETH IEUANGC.

Y fenyw ieuangc fwynaf—a gwympwyd,
Deg impyn hawddgaraf ;
Gwywodd cyn gweled gauaf
O dan nych,—flodeuyn haf.

---

## PENNILL

**" Touch a Welshman," &c., cyficithedig o'r Saesneg.**

Cyffyrddwch Gymro, os meiddiwch chwi,
Yr hen Frythoniaid ydym ni,
Gadwodd ein gwlad yn gadarn glir
Cyn i'r Sacsoniaid sathru'n tir.

## GENEDIGAETH MAB EBEN FARDD.

O asen Ebeneser—yr hanodd
Er hoen,—impyn tyner,
A'i dyfiant dan noddiant Ner,
Yn llyfndew oll o'i fwynder.

Caed wastad dyfiad difeth,
Chwim-droediad, symudiad mwth;
Heinif langc, was ifangc syth,
A llun dileddf—llawn dwylath.

Hyffordd i'r brif-ffordd er braint—boed iddo,
(Bid addwyn i'w riaint);
Prif-ffordd rwydd sobrwydd y saint—
Dilyn hon hyd lawn henaint.

Boddus i'w fam y byddo,—boddio'i dad—
Budd i'w dŷ a wnelo;
*Iago Fardd* enwog a fo,
A'i ogwydd ar Dduw Iago.

Trwy ffydd caed grefydd a'i gwres;—addysged
Ddwysgall weddi Jabes;
Yna, arno yn ernes
Y daw llwydd diau, a lles.

Gwên y byd yn gweini b'o,—er cysur,
    Ac oes i ddwfn wylio :
  Arfer heb gam arfer mo
  Ei gyfoeth—hyn a gofio.

Dalied ei ffordd rhag diluw—o bechod
    Ebychawl plant didduw :
  Boed *Enoc* mewn byd annuw,
  A'i lonaid ef o lun Duw.

Gorthrymder lawer, neu loes,—na welo
    Yn anialwch einioes :
  Da i'w ran, wedi hir oes,
  Y delo gwynfyd eiloes.

---

## ENGLYNION

I Merddin Emrys, mab Mr. Robert E. Jones, Llerpwll, yr hwn sydd yn egwyl ei flwydd oed, Ionawr 15fed, 1841.

Onid arfer hynod erfai—dal enwau
Dilynol hynafiaid,
O'n hoff lin, fu yn ei phlaid?
Gwir: o enwau gwroniaid.

Llonder bro â llawnder brys,—ymwelodd
Am ail Merddin Emrys:
Gorhoian pob llan a llys,
Er llonni yr holl ynys.

Yn gampus hardd-deg impin—bo liwdeg
Mal blodeu Maihefin:
Ar gyhoedd, rhown floedd ddi flin,
A'n chwant am urddiant Merddin.

Mawrddysg fo eiddo Merddin,—deall da,
A dull doeth i'w meithrin;
Yn rhwydd, cystadled mewn rhin
A'r gwar* fardd o Gaerfyrddin.

---

* Merddin Emrys a gyfrifid yn un o dri prif-feirdd Cristionogol Ynys Prydain, Merddyn ab Morfryn a Thaliesin oedd y ddau ereill. Merddin Emrys a flodeuodd tua chanol y 5ed ganrif; yr oedd yn wr dysgedig, ac yn neillduol hyddysg yn y celfyddydau rhif a mesur, sef Rhifyddeg, Seryddiaeth, Daearyddiaeth, &c. Dywedir mai efe oedd y pen-saer a luniodd "Waith Emrys," lle y dygwyd ymlaen frâd y cyllyll hirion.

Os bydd fardd boed brif-fardd bro—manylwaith
    Mwyn eilied fel Cymro ;
  Pen clo cân,—buan y bo
  Feirdd doniawg yn fyrdd dano.

Ei glod trwy ystod ei oes—ymledo,
    Ymlidied bob anfoes ;
  Caed trwy ffydd grefydd y groes,
  Nawdd Iôn yn niwedd einioes.

---

## PRIODAS MAB Y PRYDYDD,

**Sef Mr. Evan Owen, Bodnithoedd, a Miss Jones, merch Mr. John Jones, y Faerdref.**

Priodi wnaeth mab y Prydydd—â Mair,
Sef merch y Caniedydd : *
O'u tras îr gobeithir bydd
Y doniau ar adenydd.

Hwy unwyd gan Awenydd,†—a Chantor ‡
Gwych yw yntau'r clochydd ;
Prydlon arwyddion a rydd,
Daw'r canu i dir cynnydd.

Tawel y b'ont, a'u tuedd—yn rymus
Mewn rhwymyn tangnefedd ;
Gwylio byd hyd egwyl bedd,
A'u gwegil at bob gwagedd.

---

* Mr. John Jones, y Faerdref.

† Y Parch. D. Silvan Evans, y pryd hwnw o Fottwnog.

‡ Griffith Matthias.

## ENGLYNION

Ar chwaliad hen Eglwys Mellteyrn.

Yr hen Fellteyrn ar hinoedd,—anurddwyd
    Gan hyrddiawg dymhestloedd;
  Agenawg oediawg ydoedd,
  O'i nen i'w sail adfail oedd.

Wele adeilad helaeth,—wech odiaeth,
    A chadarn saerniaeth;
  Adail lwys, a chymwys chwaeth,
  I weis Ion, a'i wasanaeth.

Tŷ galwad taeog elyn,—o'i gamwedd
    I gymod diderfyn;
  Tŷ mawl i Dduw, teml i ddyn
  I'w addoli a'i ddilyn.

Tŷ a wnaed i'r saint a'u nyth,—tŷ'r Eglwys,
    Trigle Ion tragyfyth;
  Dalied sancteiddrwydd dilyth,
  A diau barch i'w dŷ byth.

Edrych na byddi ddidrefn—yn nhŷ Dduw,
    Annedd Ion sydd iawn-drefn;
  Duw a edrych y dodrefn:
  Gwylia dy droed, gwel dy drefn.

Ni fyn Ion o fewn y nef,—ddim aflan,—
Meflau ni wna oddef!
Ei ddodrefn a ddaw adref,
I gadw gŵyl gydag Ef.

---

## UWCHLAW'R FFYNNON, LLANAELHAIARN.

Wele yr hoff anedd, "Uwchlaw'r Ffynnon;"
Yn ol iaith arwydd, lle anwyl a thirion:
Adail geir yno, ôl dwylaw cywreinion—
Parhaus le addas i'r preswylyddion.
Wele, ogylch i foddio golygon,
Dryfrith flodau, geirdd-lysiau gwyrddleision,
Adeiniog lu yn canu acenion,
A'u seiniau denawl yn swyno dynion.

Yno, tra gwelais wên y trigolion,
Iach wr astud, bardd, llenydd, a Christion,
Rhydd wraig siriol yn rhwyddhau'r cysuron,
Yn y ty'n fanwl, a'r plant yn fwynion.
Yno caf, os coeliaf, groeso calon,
A lloni gyrfa rhwng Lleyn ac Arfon.
Yn gu i'r teulu rhoed Ion—ddylanwad
O'i hael wir gariad, a hawl i'r goron!

---

## ENGLYNION

I Dobacco Mr. Williams a'i Fab o Gaerlleon.

(Buddugol).

Ein Williams a'i Fab am wnelyd—sawrus
Fyglys iraidd hyfryd;
Da ydyw, rhaid dywedyd,
Sai ar ben myglysiau'r byd.

Y dieithr un a'i deol—a'r wlad wyr
Ei liw du naturiol;
A gara fath ragorol,
Gyrwn ef i Gaer i'w nol.

---

## COR Y NANT

Sef Cor Capel y Nant, ger Nanhoron.

Enwog, adeiniog donau—a'u seiniad
Yn swyno fy nghlustiau;
Alawon gwychion yn gwau,
O felusion fyw leisiau.

Hynod y dôn, nodau da,—gorfoledd
Gwir fawl y Goruchaf';
Tôn o nef, taenu a wna
Alawon Haleliwia!

## ENGLYNION

I Mr. James Owen (*alias* "Iago flewog aflawen") Drovers Arms, Caerlleon; yr hwn a roes y wobr am yr englynion goreu i'r Dobacco.

" Iago flewog aflawen " (?)—(diameu
Ei dymer sydd amgen,)
Eitha pwnc roes i waith pen,
A bywyd i feib awen.

Egwyl cydnabod Iago—yw heddyw :—
Haeddawl ddiolch iddo;
Dwy boced â Dybaco
I lon ddyn a lanwodd o.

Chwiffio pan delo poen dant,—da ydyw,
A dedwydd yw seibiant,
Tynu mwg o'r tân i'm mant,
A'i boeri fel tan-beiriant.

---

## Y WYDDFA.

Dacw'r hen Wyddfa deca ryw noddfawr,
Wech oleu 'i thremyn, uchel a thramawr,
Pen iesin gaerau, paenes ein gorawr,
Lle y ber awen, llywy boreuwawr ;
Eirian faes yr awen fawr—a'i chynnyrch,
Ail cain lewyrch *Helicon* oleuwawr.

## YMSON HEN LANGC.

Cu hoew fab—Hen Langc—wyf fi :—byw yr wyf
Heb wraig i'm tafodi :
Wna plant ddim mwyniant i mi,—
Fy hunan 'r wy'n fwy heini' !

---

## "Y CANIADYDD EGWYDDOROL."

Sef Llyfr Richard Jones, Ty Bwlcyn.

Mal y lli ceir mel a llaeth, —i filoedd,
Mae'n felys i'r archwaeth ;
Cân lesawl o fywiawl faeth,
Wrth reol gwir athrawiaeth.

Cydsain arwyrain i'r Ion,—yn foesawl
Iachusawl a chyson ;
Addas deg a gweddus dôn,
I'r golwg ddaeth o'r galon.

---

## ENGLYN

I Gân Gwilym Heli ar "Hen Fibl Mawr fy Nhad."

O roddion gloewon pob gwlad—i Gwilym
Gwelaf wrth ei ganiad ;
Y goreu rodd o gariad,
O'i blaid ef yw Bibl ei dad.

## ENGLYN

A draddodwyd wrth Gwilym Heli wedi derbyn y wobr ganddo am yr englyn Hir-a-thoddaid buddugol i'r Parch. Michael Roberts, o Bwllheli.

Nid moliant, na duw melyn,—fu'n enyn
Fy nawn i wneyd Englyn,
Ond gwir barch idd hybarch ddyn :
Hynny fu yn ei enyn.

---

## ENGLYN

A wnaed wedi pennodiad y Parch. D. Silvan Evans i symmud o Sarn Fellteyrn i Langian, yn ddealledig fel pe Mr. Evans yn ei lefaru :—

Ddiwedd haf yr af ar hynt—o 'wyllys
I wella fy helynt,
Aed Sarn Felltyrn ar gyrn gwynt
I'w chwalu i'r uchelwynt.

---

## ENGLYN

A adroddwyd wrth fachgen oedd yn gwerthu yr "*Eifion*," newyddiadur dimai a gyhoeddid gan Tegai yn Mhwllheli :—

Crynodeb cywrain ydyw—hwda,—yr *Eifion :*
A ro'f i'th drysorfa ;
Ni siomir di. Nes yma,
Dyma ddysg werth dimai dda.

## DAU ENGLYN

A gyfansoddwyd wrth edrych ar y Parchedig D. Silvan Evans yn ysgrifenu llythyr yn Modnithoedd, un tro, pan ar ymweliad ag yno.

Meddwl ar len ysgrifenu—a'i sylwedd
Dan sel i'w ddirgelu ;
A llaw dyn yn lliwio du
Trwy 'sgrifell yn trawsgrafu.

Drwyddo y mae'n adroddydd—medrus,
Drwy ymadrodd celfydd ;
A cheiff yn fâd rediad rhydd
I'w gludo dros y gwledydd.

---

## ENGLYN

Fwriadwyd, ar gais, i gael ei baentio uwch drws gwestty —Sarn Fawr, Mellteyrn.

Iach odiaeth os sychedi,—yw cwrw da,
Cry' ydyw i'th loni ;
Par hoewder i'th dymher di,
Gwel ei fudd,—gwylia feddwi !

---

## ENGLYN.

Un tro, ar ddydd Marchnad yn Mhwllheli, damweiniai i Owain Lleyn a Sion Cawrdaf gwrdd yno, ar yr heol, gyferbyn a gwesty y *Red Lion*, pryd y cyfeiriodd Siôn sylw ei gyfaill Owain at agweddu mewn geiriau "Arwydd y Llew Coch" i ffurf o englyn, ac, yn ddiattreg, cafwyd ganddo a ganlyn :—

Lliw Coch ar y llew cuchiog,—dy elyn
Yw, dalwr hannerog ;
I ddyn iawn, a dâl iawn lôg,
Dyry gwrw'n drugarog.

---

## ENGLYNION

A anfonwyd gan y bardd, mewn llythyr at ei frawd, Mr. Griffith Owen, Fox Hall, ger Dinbych, i hysbysu ei fod ar ddyfod i ymweled ag ef.

Lles llawn fo'n "Llys y Llwynog,"—cu noder
Y cnydau toreithiog,
O'r tir a rwygir a'r ôg,
A llawn fo'r gwair meillionog.

Llwybrau anial a lle bryniog,—dyrus fan
Dros fynydd Hiraethog ;
Caf deithio pan gano'r gog,
Yn llon i Lys y Llwynog.

---

## LLINELLAU

A wnaed, cyn ymadael o hono â Fox Hall, i Miss Owen i'w dodi yn ei *halbum.*

Elen bach lân ei buchedd,—yr eiddoch
Er addurn fo rhinwedd ;
A dal bo'ch hyd ael y bedd
I rodio mewn anrhydedd !
Elen fwyn, lonaf einoes,
Cedwch hwn cyhyd â'ch hoes.

---

## ENGLYN

I anerch Miss Owen, a ysgrifenwyd yn niwedd llythyr ati.

Rhyw gardod bach ar gerdyn—o awen
Ewyrth y'ch yn erfyn ;
Ha ferch ! ni allech ofyn
Un rodd lai gan Fardd o L'yn.

---

Rywbryd, ar ddychweliad y Bardd o'r maesydd, ymddengys ddarfod iddo ddyfod i gyfarfyddiad a'i blant yn ddiarwybod iddynt, ac wrth ganfod dyddordeb y naill yn gwahaniaethu oddiwrth y llall yn null eu chwareuon, dywedodd yn ddiaros :—

Mae Evan yn hynod am borthi cwningod
A John i g'lomenod yn barod â'r bwyd ;
Ce's Sydney yn chwareu, a Tom yn gwneud castiau:
Torasant reolau yr aelwyd.

## PENNILL

Wnaed ar dderbyniad llythyr oddiwrth ei fab o Lerpwl, a chanfod ynddo ei ymgais i gyfansoddi englyn.

Ah ! hwyrach fod Dafydd am fyned yn brydydd,
Ond bachgen annghelfydd, difenydd yw fo ;
Mae'n well iddo beidio rhag ofn magu'r bendro,
A phoeni fel gwylltgi mewn gwallgo'.

Oddiwrth rediad y llinellau uchod, gwelir ei fod yn amcanu ei ddiddyfnu oddiwrth ysbrydoliaeth yr awen, oddiar ryw resymau afreidiol eu crybwyll ar hyn o bryd. Sut bynag, ar ol derbyn nodyn oddiwrtho drachefn, rhoddodd iddo yn niwedd ei lythyr y cynghor a ganlyn :—

Os cofi fod yn fachgen da
Yn dy sefyllfa newydd,
A rhyngu bodd i bawb bob dydd
Yn eglur bydd dy gynydd ;
Fe ddeui felly yn dy flaen
Yn ddyn a graen bywoliaeth,
Ac mewn gonestrwydd yn ddi goll
Y bo dy holl ymdriniaeth !

---

## PENNILL

A wnaed yn gydsyniol â thaer gais oddiwrth ei fab, Mr. D. E. Owen, o Lynlleifiad.

Dafydd Evan Owen,
Os byddi'n fachgen da;
Ti fyddi'n wr bonheddig,
Gobeithio, ddechreu ha';
Ond gwylia di'r "hen fachgen"
A throi yn hogyn drwg;
Rhag i ti fyn'd yn fuan
I 'sgubo twll y mwg.

---

Na ddisgwylier iddo fod yn amgen i'r hyn oedd ; ca y watwargerdd ddifyr-ddiniwed ei lle ganddo, ac ar adegau ysgafn-galon felly, bwriai allan rigymau prydyddol at "*use* y tŷ" ac ar wendidau hynod perthynol i rai o'r cymmydogion, megis :—

"Gruffydd Ifan Andro
Sy'n dechreu magu'r bendro,
Yn yfed cwrw dros ei bîg,
A phoeri sug dybaco."

Yr oedd unwaith, yn ardal Myllteyrn, gymmeriad lled hynod yn mhlith cymmeriadau eraill, a adwaenid fynychaf wrth yr enw Robin Ifan Brydydd, am ei fod yn fab i'r bardd godidog Ieuan Lleyn. Hen langc mawr tra gwladaidd yr olwg arno ydoedd Robin Ifan, yn gwisgo yr un fath bob amser, "Sul, gwyl, a gwaith"; ac wrth ei swydd yn llythyr-gludydd. Un tro wrth ei weled dan ei faich ar ddiwrnod pur wlawog, Owain Lleyn, yn ol ei anianawd arferol, a'i cyfarchai fel hyn :—

Robin Ifan Brydydd
Wyt allan ar bob tywydd,
Yn cario'r *Bags* i Shop y Sarn,
Bydd arnat farn dragywydd.

# LLYTHYRAU AT EBEN FARDD.

## LLYTHYR I.

BODNITHOEDD,

14 Ebrill, 1860.

Garedig Gyfaill,—

Wedi holi ac ymofyn ag amrai o'm hen gymmydogion yn mherthynas i'r Counsellor Jones, ychydig iawn a gefais i chwanegu at yr eiddof fy hun, a hyny sydd brin hefyd. Gwn mai o Sir Fôn y daeth ef i'r Gelliwig, a'i fod yn frawd i Mr. Herbert Jones, Llynon; yr wyf yn cofio clywed iddynt feirw yn yr un tŷ yn Nghaernarfon. Mi adwaenwn y ddau,—yr oeddwn tuag 16 oed pan fu y Counsellor farw. Yr oedd ganddo frawd arall o'r enw Humphrey Jones; gwr Eglwysig yn Môn, 'rwy'n tybied, oedd hwnw; a'r hynaf o'r tri. Efe oedd etifedd y Ty Newydd, Llanengan, ac amryw leoedd eraill yn Lleyn.

Efe a ddaeth i fyw i'r Gelliwig trwy ei briodi â gweddw y Dr. Jones o'r Gelliwig (bu ganddi un mab o'r doctor, sef Col. Jones, hwn oedd filwriad dewrwych yn llywyddu y Royal Welsh Fusiliers yn amser Buonaparte, ac yr oedd yn mrwydrau yr Aifft pan laddwyd y cadfridog—Syr Ralph Abercromby). Yr oedd yn *counsellor* bron heb ei fath; byddai yn sicr

o'i bwngc bob amser. Clywais fy nhad yn dweyd iddo ei glywed yn dywedyd mai y Bibl oedd y cadarnaf i sylfaenu mater o bwys arno mewn cyfraith. Nis gwn ddim am ei ddygiad i fyny, na'r graddau oedd ganddo, na llyfrau neu areithiau a gyhoeddwyd ganddo. Mi a'ch cyfarwyddwn at Mr. David Williams, Broneryri, i gael gwybod hyny, oblegid efe a gafodd y fraint o chwilio ei lyfrgell, ac y mae yn debygol iawn bod y llyfrau mwyaf dyddorol yn ei feddiant ef heddyw. Byddai rhyw bethau plentynaidd yn yr "hen Gownslar," fel y galwem ef. Deuai i ysgol Bottwnog, a gwnai ni yn ddosbeirth yn ol maint ac oedran i'n rhoi i ymryson rhedeg. Yna eisteddai ar ben y clawdd, ac estynai ei droed, a dweyd, pwy bynag a roddo ei law gyntaf ar ei droed a ga'i y wobr ; ac wedi rhoi arwydd, "Un, dau, tri ; ffwrdd a chwi," cyd-gychwynai y dosbarth cyntaf, a'r enillwr a dderbyniai wobr o afal, dimai neu geiniog, &c., hyd y dosbarth olaf. Cawsom aml ganol dydd difyr gyd ag ef. Un tro gofynodd i ffraeth atebwr tra ar ei geffyl yn myned heibio iddo, "O, yn wir, Richard : beth yw y peth tebycaf a fyddwch yn ei weled i wr boneddig ar gefn ceffyl ?" "Teiliwr ar gefn caseg, syr," oedd yr ateb. Y mae llawer ar gof a chadw o chwedleuon tebyg yn y gymmydogaeth hon. Byddai yn hoffi pawb a roddai iddo ffraeth atebion. Drwg genyf na buaswn yn gallu anfon hanes mwy dyddorol i chwi am yr hen Counsellor Jones, ond mi wnaethum yr hyn a allwn.

Hyn mewn gobaith eich bod chwi a'ch teulu yn iach, a chydymdeimlad â chwi am eich colled ddiweddar.

Oddiwrth eich cyfaill,

OWAIN LLEYN.

EBEN FARDD.

O.Y.—Cefais lythyr yr wythnos ddiweddaf o Aberystwyth, yn ymofyn am hanes y Dr. Jones o'r Gelliwig, sef ail ŵr Mrs. Jones—bu iddi dri o wyr. Bu agos i mi anghofio dweyd mai merch oedd Mrs. Jones i John Sorton o'r Gelliwig, a'i unig etifedd.

O. LL.

## Llythyr II.

---

Bodnithoedd,

Mai 4, 1860.

Gyfaill caredig,—

Nid oes genyf yr wybodaeth leiaf o âch Owen ap Sion o Drefaes, nac i ba Drefaes yr oedd efe yn perthyn (y mae pump o Drefeusydd yn y plwy' yma). Bum yn olrhain ychydig am linell y Sorton's ac a'i dilynais o'r Gelliwig i'r Cwrt, Aberdaron. Pe buaswn yn cynyg yn nes i Adda na'r Cwrt, buasai raid i mi roi gwib dros y Parwyd Mawr a Maen Melyn Lleyn, a neidio i Scotland a suddo i dywyllwch Ysgotaidd yno.

Yr enwau ni olrheiniaf,—eu llinach
Yn llonydd gadawaf:
I'w hachau, diau, nid af
Nês i Adda, neu suddaf.

Yr oedd Richard Sorton, y Cim, Llanengan, yn daid o du ei fam i'r Richard Sorton presenol, yn frawd i John Sorton, Gelliwig, ac yr oedd ganddo frawd arall o'r enw Dafydd. Adwaenwn ferched ac wyrion i hwnw; bum yn nghynhebrwng Mary Dafydd Sorton a fu farw yn Gelliwig,—hen ferch oedranus oedd hi.

Nid oes genyf ddim o hanes achau y Counsellor yn chwaneg nag a ddywedais, ac nid oes genyf achau neb yn fy meddiant, dim ond yr hyn wyf yn eu cofio wedi eu clywed gan y diweddar Ieuan Lleyn, yr hwn oedd yn gampus a difyrus iawn mewn hynafiaethau. Priododd Miss Sorton trwy ddirgel giliad i Gretna Green, yn 17 oed, âg un o'r enw Lewis—un o deulu y Collfryn (Mount Hazel)—priodas fer a lled anedwydd oedd. Nid oes genyf ddim hysbysiad yn chwaneg i'w anfon atoch, ond os caf rywbeth dyddorol mi a'i hanfonaf: drwg genyf na buasai genyf ychwaneg.

Wyf, garedig gyfaill,

Yr eiddoch yn ddiffuant,

OWEN OWEN.

---

